*Eisteddfae ac ach ‡yscyrsian yn ei Synagagae. Ac * Cwnsti
ich dugir at y llywiawdwyr a'r Brenhinoedd om pleit i, * ffrewylliant
er testiolaeth yddwynt, ac i'r Cenetloedd. Eithr pan
ich trawsroddan, na ‡phryderwch pa vodd nei pa beth ‡ ofelwch
a ddywetoch: can ys roddir y chwy yn awr hono,
pa *beth* a ddywetoch. Can ys nid chwy*chvvi* yw'r ei
a *ddyweit, anyd yspryt eich Tad yr hwn a dywait * ymadrodd
ynoch. A'r brawd a vradycha 'r brawd a ‡varwolaeth, ‡ angeu
a'r tat y map, a'r plant a godant yn erbyn ei *Rieni, ac * tad a' ei mam
a barant yddwyn varw. A' dygasoc vyddwch gan
bawp er mwyn vy Enw: anyd yr hwn a barao yd
y dywedd, ef a ‡gedwir. A' phan ich erlidiant yn y ‡ iacheir
dinas hon, *ciliwch i *vn* arall: can ys yn wir y dywedaf * ffowch
wrthych, na 'orphenwch *oll* ddinasoedd Israel, ‡nes ‡ yny ddel
dawot Map *y* dyn. Nid yw'r discipul uwch na *ei*
athro, na'r gwas*anaethvvr* uwch na ei Arglwydd.
Digon ir discipul vot val *y bo* ei athro, a'r gwas*an-*
*aethvvr* val ei Arglwydd. A's galwasan wr y tuy yn
Beelzebub, pa veint mwy *y galvvan* ei duylwyth *ef?*
Nag ofnwch wy am hyny: can nad oes dim *toedic, * annudd
ar ny's ‡didoijr: na dim cuddiedic ar na ddaw i wybod- ‡ dadanuddir
oeth. *Hyn* a ddywedaf ywch yn y tywyllwch, dywed-
wch yn y golau*ni:* a hyn a glywoch yn y*ch* glust,
precethwch ar *ben* y tai. Ac nac ofnwch yr ei a ladd y
corph, ac ny allant ladd yr enait: eithyr yn hytrach
ofnwch hwn, a ddichon *gyfergolli yr enait y gyd a'r * ddestrywio
corph yn yffern. Any werthir dau ederyn y to er
fferling ac ny chwympa yr vn o hanynt i'r llawr heb
*evvyllys* eich Tad *chvvi?* Ac y mae hefyd eich oll wallt
yn gyfrifedic. Nac ofnwch gan hynny, chwi delwch
mwy na llawer o *adar yto. Pwy pynac gan hynny * ederynot
am cyffesso i yngwydd dynion, hwnaw a gyffessaf vi*nef*
hefyd yn-gwydd vy-Tad yr hwn 'sy yn y nefoedd. A'
phwy pynac am gwad yngwydd dynion, hwnaw a
wada vi hefyd yn-gwydd vy-tad yr hwn 'sy yn y
nefoedd. Na thybiwch vy-*d*ewot i *dd*anfon tangneddyf
i'r ddayar: ny ddaethym y *dd*anfon tangneddyf any*d* y
cleddyf. Can ys-daethim i osot dyn y ymrafaely yn
erbyn ei dad a'r verch yn erbyn ei mam, ar ‡waydd yn ‡ wraic yn er-
erbyn i chwegr. A' gelynion dyn *vydd* tuylwyth ei *dy* byn mam hei
y hun. Y nep a gar*o* tad ne vam yn vwy na*my*vi, ny*d* gwr
yw deilwng o hanof i. A'r nep y gar*o* vap ne verch
yn vwy na *my*vi, ny*d* yw deilwng o hanof *vi.* A' hwn
ny chymer ei *groes, a chalyn ar v'ol i, ny*d* yw deilwng * groc

‡ enioes vywyt — o hanafi. Y nep a gatwo ei ‡enait, ai cyll, a'r nep a gollo ei enaid om pleit i, ai caidw. Y nep ach *derbynio chwi, am derbyn* i: ar nep am *derbynio ri*, a *dderbyn* hwn am *danfonawdd* i. Y nep a dderbyn*io* brophwyt yn enw Prophwyt, a *dderbyn gwobr* Prophwyt: a'r nep a dderbynio gyfiawn, yn enw cyfiawn, a *dderbyn gwobr y* cyfiawn. A' phwy pynac a roddo ir vn o'r ei bychein hyn phiolet o ddwfr oer yn vnic, yn enw discipul, yn wir y dywedaf ychwi, ny chyll *ef* ei *gwobr*.

## Pen. xj.

Christ yn precethy. Ioan vatyddiwr yn anfon ei ddiscipulon ataw. Testiolaeth Christ am Ioan. Barn y popul am Christ ac Ioan. Christ yn edliw ir dinasoedd anniolchgar. Bod yn eglurhay'r Euangel i'r dinion gwirion. Am yr ei ys y yn trafaely ac ynt yn llwythoe. Am iau Christ.

AC e darvu, gwedy tervyny o'r Iesu orchmynny y'w ddauddec Apostolion, ef aeth oddyno er *ei* dysgy a'phreccthy yny dinasoedd wy. A'phan glybu Ioan ac ef yn-charchar o ywrth weithredoedd Christ, e *dd*anvones ddau oei ddiscipulon, ac a ddyvot wrthaw: *Ai* ti yw'r hwn a *ddaw, ai dysgwyl a wnawn am aral'? A'r Iesu a atebawdd ac a ddyvot wrthynt. * Ewch a'manegwch i Ioan, y pethae a glywsoch ac welsoch. Y mae'r deillion yn cahel ei golwc, a'r cloffion yn rhodiaw: a'r cleifion-gohanol wedy ei glanhay, a'r byddair yn clywet: y meirw y gyfodir, a'r tlodion yn *derbyn* ‡ yr Euangel. A' dedwydd yw'r ‡neb ny *rwystrir om ple*g*it i. Ac wynt yn mynet ymaith, ef a ddechreuawdd yr Iesu ddywedyt wrth y popul, am Ioan, Pa beth yr aethoch ir ‡ddiffeith i edrych am danaw? *ai* corsen a *ysgytwei gan wynt? Eithyr pa beth yr aethoch yw welet? *Ai* ‡ dyn wedy 'r wisco mewn dillat esmwyth? * Nycha, yr ei ys y yn gwisco dillat esmwyth, mewn tai ‡ Brenhinoedd y maent, Eithyr pa beth aetho chwi yw welet? *Ai* Prophwyt? Ie dywedyt ydd wyf wrthych, a' mwy no Prophwyt. Can ys hwn ytyw y neb y mae yn escriwenedic am danaw, *Nycha, myvi sy yn *d*anvon vy-cenat rac dy wynep, yr hwn a paratoa dy ffordd oth blaen. Yn wir y ddywedaf y chwi, ymplith yr ei a ‡ anet o wragedd, ny chododd *neb* mwy nac Ioan Vatyddiwr: er hyny yr hwn 'sy leiaf yn teyrnas nef, y 'sy, vwy nac ef. Ac o amser Ioan Vatyddiwr yd hyn, y treisir teirnas ne*foedd*, a'r treiswyr 'sy yn *myn'd a hi ‡wrth nerth. Can ys yr oll

*Yr Euangel y trydydd Sul yn Aduent.*

* Doeswch

‡ coelvain
* hwn
‡thramgwyddo wrth yvi

* anialwch
‡ siglai
* gwr
‡ Wely

* Wely

‡ genetlwyt

* ei ysgliffio
‡ y drais

Prophwyti a'r *Ddeddyf a prophwytesont hyd Ioan. Ac a's wyllysiwch *y dd*erbyn, ‡efe yw Elias, a oedd ar ddyvot.

¶ Y nep 'sy yddo glustiae i *wrando, gwrandawet. Eithyr i ba *beth* y cyffelyblaf i y genedleth hon? Cyffelyp yw i vechcyn*os* a eisteddent ‡yn marchnatoydd, ac yn llefain *wrth ei cyfeillon, ac yn dywedyt, Canasam ‡chwibanoc ywch', ac ny ‡neidiesoch: *ys* canesam alar*nad* ywch', ac ny chwynfanesoch. Can ys daeth Ioan eb na bwyta nag yfet, ac meddant, Y mae *cythrael ganthaw. Daeth Map y dyn yn bwyta ac yn yfet, ac meddant, Wele ddyn glwth, ac yfwr gwin, car ir Publicanot a' phechaturieit: eithyr doethinep a gyfiawnheir gan ei ‡blant *ehun.* Yno y dechreawdd ef *liwio ir dinasoydd, yn yr ei y gwneyth*esit* yr ei mwyaf oei weithredredd-mowrion ef, can na ‡chymeresent edifeirwch, Gwae dy*di* Chorasin: Gwae dy*di* Bethsaida: can ys pe gwneythesit yn Tyrus a' Sidon y gweithredoedd-*mawrion a wnaethpwyt yno-chwi, wy a gymercsent edifeirwch ‡gynt mewn *lliain*sach a llytw. Eithyr *ys* dywedaf y chwy, mai ynsmwythach vydd i Tyrus a' Sidon yn-*d*ydd *brawd, nac i chwi. A' thy*di* Capernaum, yr hon a dderchefir yd y nef*oedd*, a*th* dynnir y lawr yd *yn* yffern: can ys pe*y* ymplith yr ei o Sodoma y gwnaethesit y gweithredoedd *mawrion a wnaethpwyt yno ti, wy vysent yn aros yd ‡heddy*vv*. And *mi* a dywedaf y chwi, mai esmwythach vydd *yddyntvvy* o dir Sodoma yn-dydd brawd, nac y ti.

¶ Yn yr amser hynny ydd atepawdd yr Iesu, ac y dyvot, Yty y diolchaf, Dat, Arglwydd nef a 'daear can yty guddiaw y pethae hyn rhac y doethion a'r pruddion, a' ei *egluraw hwy ir ei bychain. ‡Yn wir, Dad, can ys velly y bu voddlawn genyt. Pop peth a roddwyt y-my gan vy-Tat: ac nyd edwyn nep y Map, ‡eithr y Tat: ac nyd edwyn nep y Tat *diethr y Map, a'r hwn yr ewyllysio 'r Map *ei* ‡eglurhau iddo. Dewchata vi, oll y sy yn vlinderawc ac yn llwythawc, a' mi a'ch esmwythaf. Cymerwch vy iau arnoch' a' dyscwch genyf, can vy-bot yn waredigennus ac yn isel o galon. A' *chvvi* gewch 'orphoysfa ich eneidae. Can ys ve Iau 'sy *hyfryd, a'm ‡llwyth *ysy* yscafn.

* Gyfraith
‡ hwn
* glywed, clywed
‡ ar yr heolydd
* ar
‡ bib
‡ ddawnsies-och
* diawl
‡ phlant
* ddannot
‡ ddoethent ir iawn
* nerthol
‡ ers talm byt
* varn
* nerthol, gwyrthfawr
‡ y dydd hwn
*Yr Euangel y dydd S. Matthias.*
* dangos
‡ Do
‡ anyd
* anyd
* dywynygu, ddangos
* hawdd, esmwyth
‡ baich

## Pen. xij.

**Christ yn escusodi ei ddiscipulon a dynnesen dywys yr yd. Ef yn iachay 'r llaw ddiffrwyth. Ef yn cymporth y dyn a berchenogid gan gythrael, ac oedd ddall a' mud. O'r cabledigaeth. Am genedleth y gwiperae. Gairiae da. Gairiae segur. Ef yn ceryddy yr anffyddlonion, yr ei vynnent gael gweled arwyddion. Ac yn dangos pwy yw ei vrodur, ei chwaer a ei vam.**

YR amser hyny ydd aeth yr Iesu ar *ddydd y* Sabbath trwy r *yd, ac ydd oedd ‡newyn ar ei ddiscipulon, ac a ddechreysont dynny tywys yr yd a'bwyta. A' phan y gwelawdd y Phariseieit, y dywedesont wrthaw, *Nycha dy ddiscipulon yn gwneythyr hyn nyd yw gyfreithlawn ei wneythyd ar y Sabbath. Ac ef a ddyvot wrthynt, Any ddallenasoch beth a wnaeth Dauid pan oedd arno newyn, a'r ei oedd y gyd ac ef? Val ddaeth ef ymewn y duy Ddyw, a' bwyta'r bara ‡gosot yr hwn nyd oedd gyfraithlawn iddo y vwyta, nac ir ei oedd gydae ef, and yn vnic ir Offeiriait? Nei any ddarllenasoch yn y * Ddedyf vot yr Offeiriait ar y Sabbath yn y Templ yn ‡tori'r Sabbath, ac ei bot yn *ddirgerydd? And mi a ddywedaf ichwi, vot yma vn mwy na'r Templ. Eithyr pe gwyddech pa beth yw *hyn*, Trugaredd a ewyllysiaf ac nid aberth, ny ‡varnesech-*chwi ar* yr ei diniwet. Can ys bot Map y dyn yn Arglwydd, ys ar y Sabbath. Ac ef a dynodd o *dd*yno, ac aeth y'*w* Synagog wy. A' nycha, ydd oedd *yno* vn a *ei* law wedy **dy*sychy. Ac wy a ovynesont iddaw, gan ddywedyt, Ai cyfreithlawn iachay ar y Sabbath? val y gallent achwyn arnaw. Ac ef a ddyvot wrthwynt, Pa ddyn o hanoch vydd, ac iddo *vn* ddavat, ac o chwympa hi mewn ‡ffos ar y *dydd* Sabbath, an y chymer ef y hi a'i chodi *allan? Wrth hyny, pa veint gwell yw dyn na dafat? Ac velly cyfraithlawn yw gwneythy*d* da ar y *dydd* Sabbath. Yno y dyvot ef wrth y dyn, Estyn dy law, Ac ef y *h*estynnawdd, a hi a wnaed yn iach val y llal'. Yno yr aeth y Phariseieit allan, ac ymgyggori a wnaethont yn y erbyn ef, pa vodd y gellynt ei ‡ddiva. A' phan wybu yr Iesu *hyny*, ef aeth ymaith o*dd*yno, a' thyrfa-vawr y dylynodd *ef*, ac ef y iachaodd wy oll, ac a orchymynawdd yddyn na' *chyoedent ef, yn y chyflawnit, 'rhyn a ddywedesit gan Esaias brophwyt, gan ddywedyt, Nycha vy-gwas*anaethur* yr hwn a ‡*dd*etholeis, vy-caredic yn yr hwn y *digrifir vy enait;

* llafur
‡ chwant bwyt
* Wele, Synna
‡ dangos, geyrbron
* Gyfraith
‡ halogi
* ddiargyoedd
‡ vwrlesech, ddamnesech
* gwywo, diffrwytho
* pwll
‡ ymaes
‡ golli, ddifetha
* pharent i adnabot
‡ ddewisais
* boddheir, ymvodlonodd

gosodaf vy Yspryt arnaw, ac ef a ddengys varn ir Cen-
etloedd. Nyd ymryson ef, ac ny lefain, ac ny's clyw
neb y ‡lais *ef* yn yr heolydd. Corsen *ysic ny's tyr ef, ‡ lef, leferydd
a' llin yn mugy ny ddiffodd *ef*, yny dduco varn i vudd- * don
ugoliaeth. Ac yn ei Enw *ef* y coelia 'r Cenedloedd.
Yno y ducpwyt attaw vn ‡cythraulic, yn ddall ac yn ‡ a chythrael
vut, ac *ef* ai iachaodd *ef*, yn y lavarawdd, ac y gwelai yntho
*yr hvvn vysei* ddall a' mut. Ac a *sannawdd ar yr oll * irdangu
popul, gan ddywedyt, Any*d* hwn yw map Dauid?
Eithyr pan glybu y Pharisaieit *hyn*, y dywedesont, Nid
yw hwn yn bwrw allan gythaulieit ani*d* trwy Beelzebub
pennaeth y cythraulieit. A'r Iesu yn gwybot ei medd-
yliae, a ddyvot wrthwynt, Pop teyrnas wedy 'r *ym- * ymohany
ranny yn y herbyn y hun, a ‡ddiffeithir: a' phop dinas ‡ a dderfydd
neu duy, wedy 'r ymranny yn y erbyn ehun ny saif. amdenei, vetha
Velly a's Satan a vwrw allan Satan, y mae ef wedy 'r
*ymranny yn y erbyn ehun: pa wedd gan hyny y * ympertio,
‡saif y deyrnas ef? Ac a's myvi trwy Beelzebub a ymohany
vwriaf allan gythraulieit, trwy pwy *vn* y bwrw eich ‡ pery
plant *chvvi*'n wy allan? Ac am hynny y byddant wy
yn *veirniait arnoch. Ac a's myvi a vwriaf allan gyth- * varnwyr
reuliait trwy yspryt Duw, yno y daeth teyrnas Dyw
atoch. Can ys pavodd y dychon neb*vn* vyned y mewn
y duy y cadarn ac ‡yspeilio ei dda, dyethr iddo yn ‡ cribdeilio
gyntaf rwymo y cadarn, ac yno yspeilio ei duy. Y nep
nid yw yd a mi, ys ydd yn v'erbyn: a'r nep ny *chasel * chlasga
gyd a mi, a 'oyscar. Erwydd paam y dywedaf y chwi, chynull
pop pechat a ‡chabl a vaddeuir i ddynion: any*d* y cabl ‡ serthair
*yn erbyn* yr Yspryt glan ny vaddeuir i ddynion. A'
phwy pynac a ddyweto 'air yn erbyn Map y dyn, e
vaddeuir yddaw: any*d* pwy pynac a ddywet yn erbyn
yr Yspryt glan, ny'*s* maddeuir iddo, nag yn y byt hwn,
nag yn y byt a ddaw. Ai gwnewch y pren yn dda, a'i
ffrwyth yn dda: ai gwnewch y pren yn ddrwc, a'i
ffrwyth yn ddrwc: can ys y pren a adwenir wrth ei
ffrwyth. A genetleth gwiperae, pa *ddelw y gellwch' * vodd, wedd
ymadrodd ‡daoedd, a chwi yn ddrwc? Can ys *o ‡ bethe da
ehelaethrwydd y galon, yr ymadrodd y geneu. Y dyn * cyflawndr
da o dresawr da *ei* galon, a ddwc allan dda-bethe: a'
dyn drwc o dresawr drwc, a ddwc allan *bethe* drwc.
Eithyr *mi* ddywedaf wrthych, mai am bop gair segur a
‡ddywait dynion, y rhoddant gyfri yn-*d*ydd varn. Can ‡ lefair
ys *wrth dy 'airiae ith cyfiownheir, ac wrth dy 'airiae * gan, drwy
ith ‡vernir. ‡ vwrir

* Scrifenydd-ion
‡ sign, argoel

¶ Yno ydd atepodd rei or Gwyr llen a'r Pharisaieit gan ddywedyt, Athro, *ys* chwenychem welet *arwydd genyt. Ac ef a atepawdd, ac a ddyvot wrth wynt, Cenedlleth ddrwc 'odinabus a gais arwydd, anyd ny roir iddi, *namyn* arwydd y Prophwyt Ionas. Can ys val y bu Ionas tri-die a' thair nos ym-boly y ‡morvil velly y bydd Map *y* dyn dri-die a' thair-nos yn-calon y ddaiar. Gwyr Ninive a gyfyt ym-barn y gyd a'r genedleth hon, ac ei *barn hi: can ys yddynt *rry* edifarhay wrth precceth Ionas. A' ‡nycha yn mwy na*g* Ionas *yn y man* yma. ‡Nycha Brenhines y Deau a gyfyd yn y varn y gyd ar genedleth hon, ac ae y barn hi: can iddi *hi* ddyvot o *eithafion y ddaiar i glywed doethinep ‡Selef: *a-nycha yn mwy na Selyf *yn y man* yma.

* vwrw, damna
‡ wele
* ddiben byd
‡ Salomon
* ac wele
‡ anlan

¶ A' phan el yr yspryt ‡aflan allan o ddyn, ef a rodia rhyd lleoedd sychion, gan gaisio gorphwys*fa*, ac eb gahel *dim*. Yno y dywait, Ymchoelaf im tuy, o'r lle y daethym: ac wedy y delo, y caiff *e* yn wac, wedy'r yscupo, a' ei *addurno.

‡ drwsio, gym-enny
‡ breswiliat, drigunt
* ddrwc

¶ Yno ydd a ef, ac a gymer ataw saith yspryt ereill scelerach nog ef, y un, ac a ant y mewn ac a ‡gyfanneddant yno: a' gwaeth vydd dywedd*hynt* y dyn hwnw na ei ddechrae*at*. Ac velly y bydd ir genedleth *enwir hon.

* chwedleua
* wele
‡ efe

¶ Tra ytoedd ef yn ymadrodd wrth y dyrfa, nycha ei vam a'ei vrodwr yn sefyll allan, yn caisio *ymddiddan ac ef. Yno y dyvot yn wrthaw, Nycha, dy vam ath vrodur yn sefyll allan, yn casio ymddiddan a thi. Ac ef atepawdd, ac a dyvot, wrth hwn a venagawdd iddo, Pwy yw vy mam? a' phwy yw vy-*b*rodur? Ac ef a estennawdd ei law tu ac at ei ddiscipulon, ac a ddyvot, *Nycha vy mam, am broder. Can ys pwy pynac a wna ewyllys vy-Tad yr hwn *y sydd* yn y nefoedd, ‡hwnw yw vy-brawt, a'*m* chwaer, a' mam.

## Pen. xiij.

* *Cyflwr*
‡ *gemmæ*

Ystat teyrnas Duw wedy'r eglurhay trwy ddamec yr had. Am yr efrac. Yr had mwstard, Y surdoes, Y tresawr cuddiedic yn y maes. Am y ‡perlac, ac am y Rwyt. Val ir escaulusr Prophwyt yn ei wlat y vn.

* wrth
‡ y dyvot

Y DYDD hwnw ydd aeth yr Iesu allan o'r tuy, ac ydd eisteddawdd *geir llaw'r mor: A' thorfoedd lawer*ion* a ymgynullent attaw, yn yd aeth ef i long, ac eistedd a'r oll dorf a safawdd ar y lan. Yno ‡yr

adroddawdd ef wrthwynt lawer o bethae drwy *bar-ablae, gan dywedyt, Nycha, ydd aeth heuwr *ymaith* i *he*heu. Ac val ydd oedd ef yn *he*heu, y cwympodd 'rei *or had* ym-min y ffordd, ac a ddaeth yr ‡ehediait ac y difaodd wy. Ar ei a gwympodd ar dir caregoc, lle ny chawsant vawr ddaiar, ac *yn y man, yr eginesont, can nad oedd yddynt ddyfnedd daiar. A' gwedy cyfody yr haul, y crasasont, ac o eisiae gwreiddio, y ‡crinesont. A'r ei a gwympesont ymplith *drain, a'r drain a gododd, ac ai tagawdd. Rei hefyd a gwympesont mewn tir da, ac a ddygesont ffrwyth, vn ‡*gronyn ar* ei *ganfed, arall *ar* ei drigeinfed, arall ar ei ddecved ar vgain. Y nep 'sy*dd* iddo glustiae i wrando, gwrandawet.

* ddamegion
‡ ar emyl, gar llaw ar gwr, wth
‡ adar
* eb ohir, eb oludd yn ebrwydd
‡ gwywesont
* yscall
‡ *hedin*
* gan cymeint
‡ glywet, clywet

¶ Yno y daeth y discipulon, ac y dywedesont wrthaw, Paam yr *ymadroddy wrthynt ym-*p*arabolae? Ac ef a atepawdd ac a ddyvot wrthwynt, Can roddy i chwi wybot ‡dirgelion teyrnas nefoedd, ac na's roddwyt yddwynt wy. O bleit pwy pynac ys y*dd* *iddo, ‡iddo *ef* y rhoir, ac ef a gaiff helacthrwydd: eythyr pwy pynac nid oes iddo, o y arno *ef* y dugir, ac hyn y 'sy*dd* yddo. Am hyny yr ymadroddaf wrthwynt ‡mewn parabolae, can ys wy yn gweled ny's gwelant: ac yn clywet, ny's clywant, ac ny's dyallant. Velly ynthynt wy y cyflawnwyt Prophedoliaeth Esaias, yr hon a ddywait, Can glywet y clywwch, ac ny's dyellwch, ac yn gweled y gwelwch, ac ny's can*v*yddwch. Can ys *brasawyt calon y popul hyn, ac aei clustiae pwl y clywant, a'ei llygait a wrthgaysont, rac canvot a'ei llygait, a chlybot aei clustiae, a' dyall a'ei calonae, ‡ac ymchwely*d*, yn yd iachawn i hwy. Eithyr ys *dedwydd *yvv* eich llygait *chvvi*, can ys ‡gwelant: ach clustiae, can ys-clywant. O bleit, yn wir y dywedaf ychwi, mai llawer o Prophwyti, a' Rei cyfiawn a ddeisyfesant weled *yr hyn a welw-chwi, ac ny'*vv* welsant, a' chlybot yr hyn a glywsoch, ac ny'*vv* chlywsant.

* dywedy, chwedleuy
‡ cyfrinachoedd
* gantho
‡ hwnw
‡ ar ddamegion
* tewychwyt
‡ a' throi
* gwynfydedic
‡ canvyddant
* y pethae

¶ Gwrandewch chwithe barabol yr heuwr. Pa pryd pynac y clyw nep 'air, y Deyrnas, ac ef eb ei ddyall, e ddaw'r ‡Drwc, ac *yscly*ffia*'r hyn a heuwyt yn ei galon *ef:* a' hwn yw ef a ‡gymerth yr had ar vin y ffordd. A' hwn a gymerth had yn y tir caregawc, yw'r vn a wrendy'r gair, ac yn ebrwydd drwy lewenydd ei *d*erbyn. Nid oes *hagen wreiddin ynthaw chun, a' thros *enhyd yw: can ys *er cynted y daw trallod nei

‡ Vall
* gipia, ysgyflia
‡ hewyt
* erhyny
‡ amser, dymor
* cyclymed

‡ trangwyddir · * yscall · ‡ twyll cyfoeth · * anffrwythlawn

ganlyn o bleit y gair, yn y van y ‡rhwystrir ef. A' hwn a dderbyn yr had ymplith y *drain, yw'r vn a wrendy'r gair: anyd gofal y byd hwn, ac *ehudrwydd golud, a dag y gair, ac ef a wnaethpwyt yn *ddiffrwyth. And hwn a gymerth yr had yn y tir da, yw'r vn a wrendy'r gair, ac ei dyall, yr vn hefyd a ffrwytha, ac ei dwc, vn ar ei ganfet, arall ar ei drugeinfet, ar-all ar ei ddecfet ar ugain. *Parabol arall a osodes ef yddwynt, can ddywedyt,

‡ Damec

*Yr Euangel y pempet Sul gwedi ir Ystwyll.*

* ller, ddrewc · ‡ chwyuny · * medelwyr

¶ Teyrnas nefoedd's ydd gyffelip i ddyn a heuei had da yn ei vaes. A' thra vei 'r dynion yn cysgu, e ddaeth y elyn ef, ac a heuawdd *efrae ymplith y gwenith, ac aeth ymaith. A' gwedy ir egin dyvu, a' dwyn ffrwyth, yno yr ymddangosodd yr efrae hefyt. Ac a ddaeth gweision gwr y tuy, ac a ddywedesont wrthaw, Arglwydd, a-ny heaist ti had da yn dy vaes? O b'le gan hyny y mae ynddo yr efrae? Ac yntef a ddyvot wrthynt, Y gelyn-ddyn a wnaeth hynn. A'r gweision a ddyvot wrthaw, A ewyllysy di i ni vyned a'ei ‡caseły wynt? Ac ef a ddyvot, Na *rynnaf*: rac ychwy wrth glasely'r efrae ddiwreiddiaw y gwenith gyd ac wynt. Gedwch ir ddau gydtyfu, hyd y cynayaf, ac yn amser y cynayaf y dywedaf wrth y *vedel, Caselwch yn gyntaf yr efrae, a' rhwymwch yn yscupae y'w llosgy: a' chaselwch y gwenith i'm yscupawr.

* ac y mae yn bren · ‡ adar

¶ Parabol arall a roddes ef yddwynt, gan dywedyt, Cyffelip yw Teyrnas nefoedd i 'ronyn o had mustard, yr hwn a gymer dyn a' ei heuha yn ei vaes, ys yr hwn 'sy 'leiaf o'r oll hadae: anyd gwedy tyfo, mwyaf *vn* or llysae ytyw, *a' phren ‡vydd, yd 'n y ddel *chediait y nef a nythy yn ei gangae.

* lefen · ‡ nes · * chibynet · ‡ cwbwl

¶ Parabol arall a ddyvot ef wrthwynt, *gan ddywedyt*, Cyffelip yw teyrnas nefoedd y *surdoes, yr hwn a gymer gwraic ac ei cudd mewn tri ‡phecect o vlawt, *yn y sura ‡oll.

* ddamec · ‡ mewn damegion · ‡ Esponia Agor

¶ Hyn oll a ddyvot yr Iesu trwy barabolae wrth y dyrfa: ac eb *parabol*ae* ny ddyvot ef ddim wrthwynt, yn y chyflawnit hyn a ddywetpwyt gan y Prophwyt, yn dywedyt, Agoraf vy-genae ‡ymparavolae, a' menagaf ddirgel*edigion* o'r pan sailiwyt y byd. Yno yd anfonawdd yr Iesu y dorf ymaith, ac *ydd* aeth ir tuy. A' ei ddiscipulon a ddaeth attaw, can ddywedyt, ‡Deongl i ni barabol efre yr maes. Yno ydd atepawdd ef ac ydyvot wrthwynt, yr hwn a heyha yr had

da, yw Map *y* dyn, a'r maes yw'r byd, a'r had da,
wyntwy yw plant y deyrnas, a'r efrae ynt blant y
*Drwc, a'r gelyn sy 'n y *he*heu *h*wy, yw diavol, a'r
cynayaf yw dywedd y byd, a'r medelwyr yw'r Angel-
ion. Megis gan hyny y ‡cynullir yr efrae, ac y lloscir
yn tan, velly y bydd yn-*d*iwedd y byt hwn. Map *y*
dyn a *dd*envyn ei Angelion, ac wy a gynnullant allan
oei deyrnas ef yr oll rwystrae, ar ei a wnant enwiredd,
ac y bwriant wy i ffwrn*ais* dan: ynaw y bydd wylo ac
*rhiccian dannedd. Yno y ‡l'ewy*r*cha yr ei cyfiawn
val yr haul yn teyrnas eu Tad. Hwn sy iddo glustiae
i glywet, clywet.

¶ Trachefyn cyffelyp yw teyrnas nefo*edd* i *dresawr
cudd*iedic* mewn maes, yr hwn wedy y ddyn ei gaffael,
ef ei cudd, ac o lewenydd am danaw, ef a dynn heibio,
ac a werth oll ar a vedd, ac a brym y maes hwnw.

¶ Trachefn cyffelip yw teyrnas nef*oedd* i *varsiandwr,
yr hwn a gais ‡vargaritactec, ac wedy iddo ei ga*ff*el vn
margaret gwerthfawr, yr aeth ac y gwerthodd *cymeint*
oll ac a veddei, ac ei prynodd.

¶ Tragefyn cyffelip yw teyrnas nefo*edd* i rwyt *tynn
a vwrit yn y mor, yr hon a ‡dyrra o bop ryw *beth*.
Yr hon wedi bo yn llawn, a ddugant ir lan, ac eistedd a
wnant, a' chlascy 'r ei da *y* mywn llestri, a' thavly 'r ei
‡drwc *heibio. Velly y bydd yn-*d*iwedd y ‡byd. Yr
Angelion a ant allan, ac a *nailltuant yr ei drwc o blith
yr ei cyfiawn, ac y tavlant wy i ffwrneis dan: ynaw y
bydd ‡wylofain a' *riccian dannedd.

¶ Yr Iesu a ddyvot yddwynt, *A* y chwi yn dyall hyn
oll? Dywedesont wrthaw, *Ym, Arglwydd. Yno y
dyvot ef wrthwynt, Can hynny pop Gwr-llen yr hwn a
ddyscir i deyrnas nefo*edd*, a gyffelypir i *berchen tuy,
yr hwn a ddwc allan oei dresawr newydd*ion* a' hen*ion*.

¶ Ac e ddarvu, gwedy i'r Iesu ddyweddyt y *para-
bolae hyn, yr ymadawodd o *dd*yno, ac yd aeth ef y'w
wlat y un, ac ei dyscawdd yn y synagogae wy, yny
‡synnodd arnynt, gan ddywedyt, O b'le *y doeth* y
doethinep hyn a'r *gwethredoed-nerthol ir dyn hwn?
Any*d* hwn yw map y saer? Any*d* y vam ef a elwir
Mair, a' ei vrodur Iaco ac Ioses, a' Simon ac Iudas?
Ac any*d* yw ei chwioredd oll y gyd a *ny*ni? O b'le
gan hyny y mae ganthaw *y pethae* hyn oll? Ac wy a
*rwystrit ‡yntho. Yno y dyvot yr Iesu wrthwynt,
Ny*d* yw Prophwyt eb anrydedd *anyd yn ei wlat y un,

* Vall
‡ clescir, tyrir
‡ dranewyddeu
* yscyrnygy
‡ tywynna, discleiria, discleinia
* wrando, gwrandawt
‡ eurgrawn
* varsiand vasnachwr
‡ perle da
* dramwy, traws
* gasel, glasca, a gynull
‡ coegion
* y maes allan
‡ oesoedd
* ddidolant, ditholant, holiant
* yscyrnygy
‡ Ydym
* wr
* damegion
‡ chwithodd
* meddiantae
* dramewyddit
‡ ganthaw
* dyeithyr, amyn

‡ veddiante, wyrthiae
* er mwyn

ac yn y duy chun. Ac ny wnaeth ef vawr ‡weithrrd-
oedd-nerthol yno, *o bleit ei anerediniaeth wy.

## Pen xiiij.

**Tyb Herod am Christ. Lladd pen Ioan. Christ yn porthi pempmil popul a' phemp torth a' dau pyse. Ef yn gweddiaw yn y mynyth. Ef yn ymddangos liw nos ar y mor yw ddiscipulon. Ac yn achup Petr. Hwy yn cyffessy y vot ef yn vap Duw. Ef yn iachay pawp a gyhyrddodd-ae emylyn y wisc ef.**

Y PRYD hyny y clybu Herod y Tetrarch am Iesu,
ac y dyvot wrth ei weison, Hwn yw Ioan Vat-
* meddiannc gwrthiae
yddiwr. Ef gyfodes o veirw, ac am hyny y gweith-
redir *weithredoedd-nerthol ganthaw. Can ys Herod
a ddaliesei Ioan ac ei rhwymesei, ac ei dodesei yn-car-
char o bleit Herodias, gwraic Philip y vrawt ef. Can
‡ cyfraithlawn
ys Ioan a ddyvot wrthaw, Nid ‡deddfol y ti y chahel
hi. A' phan oedd yn ei vryd y roi ef yw varwolaeth,
ef ofnodd y dyrva, can ys wy y cymerent ef val proph-
* natalic
wyt. A' phan getwit *dydd* *genedigaeth Herod, y
dawnsiodd merch Herod geyr y bron wy, ac y bodd-
‡ drwy lw
haodd hi Herod. Erwydd paam y gaddawodd ef ‡dan-
dwng, y rhoddei yddhi beth pynac ar a archei *hi*. Ac
‡ Ro, Moes
yhi wedy hi addysey gan hei mam, a ddyvot, ‡Dyro
i mi yma ben Ioan Vatyddiwr mewn desel. A'r
* yn ddrwc ganthaw
Brenhin a *dristawdd: eithyr o erwydd ei lw, a'r ei a
eisteddent y gyd ac ef wrth y vort, y gorchymynawdd
ef ei roi *iddi*: ac ef a *dd*anvonawdd *gennad* ac a
‡ dorawdd
‡laddawd ben Ioan yn y carchar. Ac a dducpwyt
* vorwyn
y ben ef mewn desyl, ac ei rhoet ir *vacheennes, a'
‡ yddy
*hi* ei duc ‡y'w mam. A' ei ddiscipulon ef a ddaethant,
ac a gymersant y gorph *ef* ac ei claddesont, ac aethont
ac a ddywedesont, i'r Iesu. A' phan *ei* clybu yr Iesu,
ef a dynnodd o ddyno mewn llong i ddiffeith*fa* or *n*ailltu.
* yn bedestric
A' gwedy clybot o'r dyrva, wy y dilynesont ef *ar
draet allan o'r dinasoedd. A'r Iesu aeth ymaith ac a
‡ vintai
welodd *dyrva vawr, ac a dosturiawdd wrthwynt, ac
ef a iachaodd y cleifion hwy.

¶ A' gwedy y mynd hi yn hwyr, y daeth ei ddis-
cipulon attaw, can ddywedyt, Diffaith yw'r lle yma,
‡ amser
a'r ‡awr aeth heibio: *gellwng y dyrva ymaith, i
* madde, gad
vyned ir dinasoedd y bryny yddyn ‡vwydydd. A'r
‡ vitel
Iesu a ddyvot wrthynt, Nid *rhait y yddyn vyned
* dir
ymaith: Rowch chwi yddwynt *beth* y'w vwyta. Yno
y dywedesont wrthaw, Nid oes genym any*d* pemp torth

a' dau pysc*otyn*. Ac ef y ddyvot, Dugwch wy i mi yma*n*. Ac e orchymynawdd ir dorf eistedd ar y *gwellt*glas*, ac a gymerth y pemp torth a'r ddau bysc*odyn*, ac a ‡edrychawdd i vyny*dd* tu ar nef, ac a vendithiodd, ac a dores, ac a roes y torthae y'w ddiscipulon, a'r discipulon ir dyrva. Ac wy oll a vwytesont, ac wy a *ddigonwyt. Ac a godesont o'r briw*urryt* oedd yngweddill saith basceden. Ar ei a vwytesent, oedd yn-cylch pem*p*mil o wyr, eb law gwragedd a' *rhai bychain.

¶ Ac yn y van y cym*p*ellodd yr Iesu ei ddiscipulon i vyned mewn llong, a' ‡myned *trosodd oei vlaen, tra *dd*anfonei ef y dyrfa ymaith. A' gwedy iddo *dd*anvon y dyrfa ymaith, ef ‡escennawdd ir mynyd *vvrtho* ehun i weddiaw: a' gwedy y hwyrhai hi, ydd oedd ef yno *yn vnic. Ac yno ydd oedd y llong yn-cenol y mor, ac a ‡drallodit gan donnae: canys gwynt gwrthwynep ytoedd. Ac yn y bedwerydd wylfa or nos, ydd aeth yr Iesu attwynt, gan rodio ar y mor. A' phan welodd ei ddiscipulon ef yn rhoddiaw ar y mor, y cythrwblit wy gan ddywedyt, *Drychioleth *yd* yw, ac a waeddeson rac ofn. Ac yny man, yr ymadroddodd yr Iesu wrthwynt, gan ddywedyt, ‡Cymerwch gysir da. Myvi *yt*yw: nac ofnwch. Yno ydd atpawdd Petr ef, ac a ddyvot, Arglwydd, a's ti yw, arch i mi ddewot atat ar y dwfr. Ac ef a ddyvot, *Dyr*ed*. A' gwedy descen*d* o Petr o'r llong, ef a rodiodd ‡rhyd y dwfr *i ddyvot at yr Iesu. An'd pan welawdd ef wynt cardarn, yr ofnawdd: a' phan ddechreuawdd ‡suddo y llefawdd, gan ddywedyt, Arglwydd, *cadw vi. Ac yn y man yr esten*d*awdd yr Iesu ei law, ac ymavlodd yntliaw, ac y dyvot wrtho, A *dydi* ‡vychan o ffydd, paam *y petruseist? Ac er cynted yd aethon ir llong, y peidiawdd y gwynt. Yno yr ei oedd yn y llong, a ddaethon ac y addolesant ef, gan ddywedyt, Yn wir map Dew *yt*wyt.

¶ A' gwedi ydd yn vyn*ed* trosodd, *rry* ddaethant i dir Genezaret. A' phan i adnabu gwyr y van hono ef*o*, *ys d*anfonesant ir wlat hono o y amgylch, *ogylch*, ac a ddygesont attaw yr ei oll oedd yn gleifion. Ac a atolygont iddo gael cyfwrdd ac *emyl*yn* y wisc ef yn vnic: a chymmifer ac a gyfyrddawdd *a hi*, a iachawyt.

*glaswellt
‡dremiodd
*ddiwallwyt, gawsont ei gwala
*plantys
‡thrawenu, threiddio
*trywodd
‡dringodd i vynyth
*wrtho yhun
‡haldienit, a chwelit, wthit
*Gweledigaeth, Ellyll, Anyspryd
‡Coeliwch
*Dabre
‡ar
*vyned
‡soddi
*dianc, achup
‡y chydig-ffydd, dydi wan o ffydd
*yr angoeliaist, ydd amheuaist, y dowteist
*hem

## Pen. xv.

Christ yn escuso ei ddiscipulon, ac yn ceryddy'r Gwyr llen, a'r Pharisaieit, am dori gorchymyn Dew, gan ei athraweth ei hunain. Am y planigin a ddiwreiddir. Pa bethae a halogant ddyn. Christ yn gwaredy merch y wraic o Canane. Bara'r plant. Ef yn iachay'r cleifion. Ac yn porthy pedairmil gwyr, eb law gwragedd a' phlant.

YNO y daeth at yr Iesu y Gwyr-llen ar Pharisaieit, yr ei oedd o Gaerusalem, gan ddywedyt, Paam y *tyr dy ddiscipulon *di* ‡arddodiad yr *Henafieit? can na olchant ei dwylo, pan vwytaont vara. Ac ef a atepawdd ac a ddyvot wrthwynt, A' phaam ydd y-chwi yn ‡tori gorchymyn Dew gan eich *arddodiad chwi? Can ys Dew a orchymynodd, can ddywedyt, Anrydedda dy dad ath vam: a' hwn a ‡velltithio tad nei vam, bid *ef* varw *yr angae. A chwi a ddywedwch, Pwy pynac a ddyweit wrth tad nei vam, ‡Can y rhodd a *offrymir* geny vi, y daw lles yty: *er, na's anrhydedda ef ei dad, nei vam, ‡*dinai rydd.* Ac *rellyn* y gwnaethoch 'orthymyn Dew yn over gan eich *arddodiad chwi. A hypocriteid, da y prophwytodd Esaias am dano-chwi, gan ddywedyt, Nesau mae'r popul hynn ataf a' ei genae, a'm anrhydeddy aei gwefusae, a' ei calon 'sy ympell ywrthyf. Eithr ouer im anrhydeddant i, gan ddyscy *yn lle* dysc*eidaeth* 'orchymynnae dynion. Yno y galwodd ef y dyrva attaw, ac y ddyvot wrthwynt, Clywch a' dyellwch. Hyn *aa *y mewn* ir genae, ny's ‡haloga ddyn, *n*anyn yr hyn a ddaw *allan* o'r genae, hyny a haloga ddyn.

¶ Yno y daeth ei ddiscipulon, ac y dywedesont wrthaw, A' ny wyddost i, y *rhwystra Pharisaieit wrth glywet yr ymadrodd *hwn?* Ac ef a atepodd ac a ddyvot, Pop plannigyn ar ny's plannawdd vy-Tad nefawl, a ddiwreddir. Gedwch yddyn: tywysogion deillion ir deillion ynt: ac a's y dall a ‡dywys y dall, y ddau a gwympant i'r ffos.

¶ Yno ydd atepawdd Petr, ac y dyvot wrthaw *Deongl yni y parabol hwn. Yno y dyuot yr Iesu, ytych chwi etwa eb ddyall? Any *wyddoch*wi*, eto mai pop peth pynac aa ymewn ir genae, iddo vyned ir bol*y*, ac a vwrir allan ir *gaudy? Eithr y pethae a ddant *allan* o'r genae, 'sy yndyvot o'r galon, ac *h*wy a halogant ddyn. Can ys o'r galon, y daw meddyliae

* trosa
‡ athraweth defod, gosodiad
* Hynaif, henuriait
‡ trosi, troseddu, anghyfreithio
* athraweth
‡ emelldigo
* varwoleth
‡ Trwy
* cyd
‡ *digerydd, digeel*
* athraweth
* ar el
‡ budredda
* trangwyddit
‡ arwein
* Esponia, Manec
‡ ddyellwch
* coddyn

drwc, ‡lladd-celanedd, tori priodas, *godinebeu, lladrat, ffals destiolaeth, cablairiae. Yr ei ‡hyn yw'r pethae a halogant ddyn: an'd bwyta a dwylo eb ‡'olchi, nyd haloga ddyn.

* ffornigrwydd
‡ ymolchi

¶ A' Iesu aeth o ddyno, ac a dynodd i dueddeu Tyrus a' Sidon: A' nycha, gwraic o Canaan a ddaeth or *goror hynny, ac a lefawdd, can ddywedyt wrthaw, Trugarha wrthyf, Arglwydd, vap Dauid: y mae vymerch i mewn poen resynawl gan gythraul. Eithyr nyd atepawdd ef yddi vn gair. Yno y daeth ei ddiscipulon ataw, ac a atolygesont iddo, can ddyweddyt, *Danvon y hi ymaith canys mae hi yn llefain ar ein h'ol. Ac ef a atepawdd, ac addyvot, Ni'm *d*anvonwyt i anid at ddevait colledic tuy 'r Israel. Er hyny hi a ddeuth ac y addolawdd ef, can ddywedyt, Arglwydd cymporth vi. Ac ef a atepawdd, ac a ddyvot, Nid ‡da cymeryd bara 'r plant a'ei vwrw ir *cwn. Hithae a ddyvot, Gwir yw, Arglwydd: er hyny mae 'r cwn yn bwyta yr briwision a syrth *y ar vort y' harglwyddi. Yno ydd atepawdd yr Iesu, ac ydyvot wrthei. *Ha* wreic, mawr yw dy ffydd: bid y-ty, mal y mynych. A'hei merch a iachawyt yn yr awr honno.

*Yr Euangel yr ail Sul or Grawys.*
* parthae
* Gelwng
‡ iawn
* cynavon, cwnach
* oddiar vwrdd

Ac *velly* yr aeth yr Iesu o yno, ac y daeth geyrl'aw mor Galilaea, ac a escen*d*odd ir mynyth, ac a eisteddawdd yno, Ac a ddaeth ataw dyrvae mawrion a' chanthwynt gloffion, deillion, mudion, ‡anafusion, ac eraill lawer, ac eu bwricson *y lavvr* wrth draet yr Iesu, ac ef *y* iachaodd *h*wy, yny ryveddawdd y dyrva, weled y mution yn dywedyt, yr anafusion yn iach, a'r cloffion yn *cerddet, ar daillion yn gweled: a' gogoneddy Dyw *yr* Israel awnaethont. Yno y galwodd yr Iesu ei ddiscipulon attaw, ac a ddyvot, Ydd wyf yn tosturio wrth y dyrfa hon, can yddyn aros gyd a mi *er* ys tri-die bellach, ac na*d* oes ganthyn *ddim* yw vwyta: a'i ‡gellwng *vvy* *ar ei ‡cythlwng ny's *ewyllsyaf, rac ei ‡ffeintio ar y ffordd. A' ei ddiscipulon a ddyvot wrtho, O b'le y caem ni ‡gynniver o vara yn y diffeith*vvch*, ac y caffei dyrva gymeint, ei gwala? Ac a ddyvot yr Iesu wrthynt, Pasawl torth 'sy genwch? A' *hvvy* dywedesont, Saith, ac ychydic *byscod-bychain. Yno y gorchmynnodd ef ir dyrva eistedd *i lavvr* ar y ddaiar. A' chymerawdd y saith torth, a'r pysc*ot*, ac a ddiolchawdd, ac *eu* torrawdd, ac *ei* rhoes ‡at ei ddyscipulon, a'r discipulon i'r dyrfa. Ac *vvy* oll a vwytesont, ac a

‡ efryddion
* rhodio
‡ yn newynoc
* maddae yn weigion
‡ yn divwyt
* gwnaf
‡ gloesygy, llesmeirio
* gymeint
‡ byscodyne
‡ yw

gawson ddigon: ac y godeson, o'r briwfryt oedd yn gweddill saith * vasceddeit. A'r ei vesyn yn bwyta oedd pedeirmil o wyr, eb law gwragadd a' phlantys. Yno ydd anvones yr Iesu y dyrfa y ffordd, ac a aeth y long, a ddaeth i ‡ barthe Magdala.

* cawelleit
‡ gyffinydd, randiroedd, duedde bro, ardal

## Pen xvj.

Y Pharisaieit yn gofyn arwydd. Yr Iesu yn rhybyddiaw ei ddiscipulon rac athraweth y Pharisaieit. Cyffes Petr. Egoriadae nef. Bod yn angenrait ir ffyddlonion ddwyn y groes. Colli nei gael y bywyt. Enodiat Christ.

YNO y deuth y Pharisaieit a'r Sadducaieit, ac y temptesant ef, gan geisiaw ganthaw ddangos yddyn arwydd o'r nef. Ac ef a atepawdd, ac a ddyvot wrthynt, Pan vo hi * yn hwyr, y dywedwch, Hi rydd * Towydd tec: can vot yr wybr yn goch. A'r borae y dyrreiecch, Heddiw y bydd ‡ tempestl, can vot * yr wybr yn goch ac yn ‡ drist. A' hypocriteit, wynep yr wybr a vedrwch i y * varny, ac a ny vedrwch varny am arwyddion yr amserae? Egais y genedleth ‡ drwc a'r odinabus * arwydd, ac arwydd ny's roddir iddi n amyn arwydd, y Prophwyt Ionas: ac velly y gadawodd ef wy, ac y tynnawdd ymaith.

‡ brydnawn echwydd
* Hindda
‡ drye-hin
* y nef, ffyrvaven
‡ brudd
* ddyall, ystyried, syniaw, adnabot
‡ enwir, anvad
* argoel

¶ A' gwedy dyvot ey ddiscipulon i'r lan arall, ef aithei eb gof ganthynt gymeryd bara y gyd ac wynt. A'r Iesu a ddyvot wrthynt, Edrychwch, a'mogelwch rhac ‡ leven y Pharisaieit a'r Sadducaieit. Ac wy a * veddyliason ynddyn y hunain gan ddywedyt, Hyn sy am na ddygesam vara. A'r Iesu yn gwybot y peth, a ddyvot wrthynt, Chwychwy o ‡ ffydd vechan, paam y meddyliwch ynoch eich hun, sef can na ddygesoch vara? Anyd ychwi yn dyall eto, nac yn cofio y pemp torth, pan oedd pempmil popul, a' phasawl basgedeit a gymresoch? Na'r saith torth pan oedd saith mil popul, a' pha sawl cawelleit a gymeresoch? * Pa'm na ddyellwchwi, mae am y bara y dywedeis wrthych, ar ymogelyd o hanoch rac leven y Pharisaieit a'r Sadducaieit? Yno y dyellesont wy, na ddywedesei ef am ymogelyd o hanynt rac lefen bara, namyn ‡ rac athraweth y Pharisaieit a'r Sad-ducaieit.

‡ surdoes
* rysymeson yn ei plith
‡ wanffydd
* P'odd
‡ ywrth ddysc

¶ A' gwedy dyvot yr Iesu i dueddae Caisar Philip e a o vynnodd y'w ddiscipulon, Pwy * y dywait dynyon vy-bot i Map y dyn? Ac wy a ddywedesont Rei a

*Yr Euangel ar ddydd S. Petr Apostol.*
* medd

ddywait ‡*mae* Ioan vatyddiwr: a' rei *mae* Helias ac eraill ‡ taw
*may* Ieremias, *ai vn or Prophwyti. Ac ef a ddyvot * neu
wrthwynt, A' phwy ‡meddwchwi yw vi? Yno Simon ‡ ddywedwch
Petr a atepawdd, ac a ddyvot, Ti yw'r Christ Map y
Duw byw. A'r Iesu a atepawdd, ac a dyvot wrthaw
*Gwyn dy vyt ti Simon vap Ionas can nat cic a' gwaet * Ys dedwydd wyt
ei dangosawdd yty eithyr vy-Tat yr hwn ys ydd yn y
nefoedd. A' mi a ddywedaf hefyt yty, mae ti yw Petr,
ac ar y ‡petr hynn yr adailiaf veu Eccles: a' phyrth ‡ graic
yffern ny's ‡gorvyddant y hi. Ac y-ty y rhoddaf * gorchvyggnt
*egoriadae teyrnas nefoedd, a' pha beth bynac a rwy- * allwydae
mych ar y ddaear, a vydd rwymedic yn y nefoedd:
a pha beth bynac a ellyngych ar y daear, a vydd gell-
yngedic yn y nefoedd. Yno y gorchymynawdd ef
y'w ddiscipulon, na ddywedent i nep mai efe oedd
Iesu y Christ.

O hyny allan y dechreawdd yr Iesu *dangos y'w ‡ venegy
ddiscipulon, vot yn ‡*angen*raid iddo vyned i Caeru- * ddir
salem, a' dyoddef llawer gan yr Henafieit, a' *chan* yr
Archoffeiriait, a'r Gwyr-llen a' ei ladd, a' *chyfody y ‡ chwnny
trydydd dydd. Yno Petr ai cymerth ef or ‡nailltuy, * wrtho ehun
ac a ddechreawdd y *geryddy ef, gan ddywedyt, Ar- yn'ohanredawl
glwydd, ‡trugarha wrthyt tyun: ny'*s* bydd hyn y-ty. ‡ bydd well
Yno ydd ymchoelodd ef tra*ch* i gefyn, ac y dyvot wrth
Petr, *tynn ar v'ol i Satan: *can ys* rhwystr wyt ymy, * does ffwrth y wrthyf
can na ddyelly y pethae *sy o* Dduw, *n*amyn y pethae
*sy o* ddynion. Yno y dyvot yr Iesu wrth ei ddiscip-
ulon, A's ‡dilyn nep vi, ymwrthoted y vn, a chymered ‡ canlyn
ei *groc a' dilyned vi. Can ys pwy bynac, a 'wylly- * groes
sio gadw ei ‡vywyt, ei cyll: a' phwy pynac a gollo ‡ einioes, enaid, hoedyl
ei vywyt om pleit i, a ei caiff. Can ys pa les i ddyn,
er ennill yr oll vyt, a *chyll ef y enait y hun? nei
pa beth a rydd dyn yn ‡gyfnewyt dros ei Dat y gyd ‡ dal
a' ei Angelyon, ac yno y rhydd ef i bop *dyn* erwydd
ei weithredoedd. Yn wir y dywedaf ychwi, vot rhei
o'r sawl 'sy yn sefyll yma, ar ny *chwaethant angae, * vlasant, phrovant
nes yddyn welet Map *y* dyn yn dyvot yn ei deyrnas.

## Pen. xvij.

Ymrithiat Christ ar vvnyth Thabor. Dlyedus yw gwrando Christ. Am Elias ac Ioan Vatyddiwr. Ef yn iachay dyn lleuadglaf. Grym ffydd. Ympryd a' gweddi. Christ yn rhacvenegi am ei ddyoddefaint. Ef yn taly teyrnget.

AC ar ol chwech diernot, y cymerawdd yr Iesu Petr, ac Iaco, ac Ioan ei vrawt, ac y duc wy i vynydd i vonyth vchel *o'r nailltuy, ac ymrythiodd geyr y bron wy, ac a *dywynnodd y wynep ef val yr haul, a' ei ddillat oedd ‡mor gannaid a'r goleuni. A' nycha, Voysen ac Elias, yn ymddangos yddynt, yn ymddiddan ac ef. Yno ydd atepawdd Petr, ac y dyvot wrth yr Iesu, Arglwydd, da yw i ni vot yma: a's ewyllysy, gwnawn yma dri phebyll, vn i ti, ac vn i Voysen, ac vn y Elias. Ac ef eto yn ymadrodd, nycha wybren olau yn ei gwascodi hwy: nycha, lef o'r wybren yn dywedyt, Hwn yw vy-caredic Vap, yn yr hwn im boddolonit: clywch ef. A' phan glybu y discipulon *hyny*, y cwympesont ar ei hwynebae, ac a ofsont yn *ddir*vawr: Yno y daeth yr Iesu, ac ei cyhyrddodd wy, ac a ddyvot, *Cy*fo*dwch, ac nac ofnwch. A' chwedy yddynt dderchafael ei ‡llygaid ny welsant nep an*y*d yr Iesu yn *vnic.

¶ A' mal y descendent o'r mynyth, y gorchymynawdd yr Iesu yddyn gan ddywedyt, Na ddywedwch y weledigaeth i nep, yn y chyvoto Map y dyn o veirw. A' ei ddiscipulon a ovynawdd iddo, gan ddywedyt, Pa'm gan hyny y dyweit y Gwyr llen vot yn *rait i Elias ddyvot yn gyntaf? A'r Iesu a atepawdd ac a ddyvot wrthyn, Diau y daw Elias yn gyntaf, ac yr ‡edvryd ef oll. Eithr mi ddywedaf ychwi, ddyvot o Elias *eisioes, ac na's adnabuont *vvy* ef, a' gwneuthyd o hanynt yddo beth bynac a vyncsont: velly y ‡bydd i Vap y dyn ddyoddef ganthwynt *vvy*. Yno y dyellodd y discipulon y vod ef yn dywedyt wrthwynt am Ioan Vatyddiwr.

¶ A' gwedy eu dyvot at y dyrva, y daeth ataw *ryvv* ddyn, ac *aeth ar ei 'liniae iddo, ac a ddyvot, Arglwydd, trugarha wrth vy map: can yvot ef yn ‡lloeric, ac ydd ys yn ddrwc wrthaw: can ys mynech y cwymp *ef* yn tan, a' mynech yn y dw*fr*. A' *mi* y dugym ef at dy ddiscipulon *di*, ac ny allasant wy y iachay ef. Yno ydd atepawdd yr Iesu, ac y dyvot, A genedleth, anffyddlawn a' *thraws*edic*, pa hyd bellach y byddaf gyd a chwi? pa hyd bellach ych dyoddefaf? dugwch ef yma ataf i. A'r Iesu a ‡geryddodd y cythrael, ac ef aeth allan o hanaw: a'r bachcen a iachawyt yn yr awr hono. Yno y daeth y discipulon at yr Iesu *wrtho ehun, ac a ddy-

* wrthyn y hun, yn anwahanredawl
* ddiscleiriodd
‡ cyn wynned
* gwrandewch arno ef
* Cwnnwch
‡ golwc
* wrtho y vn
* ddir
‡ adver bop peth
* yr awrhon, weithian, bellach
‡ dervydd
* benliniodd, ostyngodd
‡ lleuadic
* throvaus, gwrthnesic
‡ ys dwrdiodd
* or neilltu

wedesont, Paam na allem ni vwrw ef allan? A'r
Iesu a ddyvot wrthwynt, O bleit eich ancrediniaeth:
can ys yn wir y dywedaf y chwi, pe bei y chwi ffydd
*cymeint* ac *yvv* gronyn mwstard *chvvi* ddywedwch
wrth y mynyth hwn, Ys*y*mud o *dd*yma draw, ac ef
a ys*y*mut*a*: ac ny bydd dim *am*p*ossibil ychwy. *analluawc
An'd ny*d* a allan y rhyw*iogeth* hwn, amyn gan weddi
ac vmpryd.

¶ Ac val ydd oeddent *vvy* yn ‡aros yn-Galilaea y ‡tramwy, cyn-
dyvot yr Iesu wrthwynt, Ef a *dder*vydd rhoddi Map ired
*y* dyn yn-dwylo dynion, ac *vvy* ei lladdant, *a'r *eithyr y
trydydd dydd y cyfyd ef: a' thristay a wnaethant yn
ddirfawr.

A' gwedy ey dyvot i Capernaum, yr ei oedd yn
*d*erbyn arian y deyrnget, a ‡ddaethant at Petr, ac ‡dreth, cein-
a ddywedesont, Any'*d* yw eich athro *chvvi* yn taly iogen pen
teyrnget? Ef a ddyvot, Ydyw. Ac wedy y ddyvot
ef ir tuy, yr Iesu a ei rhac ‡vlaenodd ef, gan ddy- ‡achubodd
wedyt, Beth a *dyby*gy* di Simon? ‡Y gan bwy y *meddi
cymer Brenhinedd y ddaiar deyrnget, nei *dreth? ‡Pwy gan
y gan ei plant, ai gan estronieit? Petr a ddyvot *arian pen
wrthaw, y gan estranieit. Yno y dyvot yr Iesu wrth-
aw, Gan hyny y mae'r plant yn ‡rhyddion. Er hyny, ‡vreiniol
rac y ni y rhwystro hwy, does ir mor, a' bwrw vach,
a' chymer y pysc*otyn* cyntaf a ddel i vyny*dd*, ac wedy
yt' agory ei *eneu, ti a gai ddarn o vgein ceinioc: *safyn
cymer hynny a' dyro droso vi a' thi.

## Pen. xviij.

Y mwyaf yn terynas nef. Ef yn dyscy ei ddiscipulon y vot yn uvyddyon ac yn ddiniwed. Ymoglyd rhac achosiaw drwc. Na thremyger yr hai bychain. Paam y daeth Christ. Am gosp broderawl. Am awturtot yr Eccles. Moliant gweddi a' chynulleidfae dwywol, Am vaddeuant brawdol.

YR amser hynny y deuth y discipulon at yr Iesu, *Yr Euangel ar*
can ddywedyt, Pwy 'sy vwya yn-teyrnas nefoedd? *ddydd Mibacael.*
A'r Iesu a alwawdd ataw *vachcenyn, ac ei gosodes *blentyn
yn ei ‡cyfrwng, ac a ddyvot, Yn wir y dywedaf ‡cenol
wrthych, a ddieithyr eich *ymchwelyt, a' bot mal *troi
‡bachenot nid ewch i deyrnas nefoedd. Pwy bynac ‡reibychein
can hyny a ‡ymestyngo mal y bachcenyn hwn, hwnw ‡ymiselo
yw'r mwyaf yn-teyrnas nefoedd. A' phwy pynac a *plentyn
*dd*erbyn gyfryw ‡vachcenyn yn vy Enw, a'm *d*erbyn i. ‡drangwyddo'
A' phwy bynac a *rwystro vn or ei bychein hynn a gwimpo

credant yno vi, gwell oedd, iddaw pe crogit maen melin
* wddwg — am ei ‡ vwnwgl, a'ei voddy yn eigiawn y mor. Gwae'r
‡ tramcwddion, cwympe — byt o bleit ‡ rhwystrae: can ys angenreit yw dewot
rhwystrae: er hyny gwae'r dyn hwnw. y gan yr vn
‡ tramcwydd — yd ei y ‡ rhwystr. Can hyny a's dy law *n*ai dy droet
ath rhwystra, tor wy ymaith, a' thavl y wrthyt: gwell
* efrydd — yw yty vynet i vywyt, yn gloff, ai yn * anafus, nath
‡ dwy — tavly ae yty ddwy law, a' ‡ dan droet i dan traga-
vythawl. Ac a's dy lygat ath rwystra, tynn allan, a'
thavl y wrthyt: gwell yw yty vynet i vywyt ac yn
* Mogelwch — llygat, na'c a dau lygat, dy davly i dan yffern. * Gwel-
‡ anvriech, salwch — wch na ‡ thremygoch yr vn o'r ei bychein hynn: canys
dywedaf y chwi, pan yw yn y nefoedd vot y Aggelon
*tremio,edrych — wy bop amser yn * gwelet wynep vy-Tat yr hwn ys y
yn y nefoedd.

* iachay ymwared, achup diane — Can ys daeth Map *y* dyn i * gadw *yr* hyn a gollesit.
Beth a dybiwchwi*? A's bydd*i* i ddyn gan davat, a'
‡ ddidro, goil, ar ddigren — myned o vn o hanynt ar ddisperot, a ny ad ef y *n*amyn
vn pem*p* ugain, a' myned ir mynydde*dd* a' cheisio yr
hon acthesei ar ddysperot? Ac a's bydd yddo y chael
hi, yn wir y dywedaf y-chwi, mae mwy llawen yw gan-
thaw am y ddavat hono, nag am y *n*amyn vn pem*p*
veain nyd aethent ar ddispirot. Velly ni*d* yw ewyllys
eich Tat y-sy yn y nefoe*dd*, *bot* cyfergolli yr vn or ei
‡ gwna — bychainhyn. Eb law hyny a's ‡ pecha dy vrawt ith
* dywait iddo ei vai — erbyn, does, a' * cherydda ef ryngot ac ef ‡ wrth y vn:
‡ yn vnic — a's ef ath wrendy, enilleist dy vrawt. Ac as ef ni'th
wrendy, cymer gyd a thi eto vn nei ddau, val y bo gan
* grymio — enac dau nei dri o testion ally * sefyll o bop gair. Ac
a's ef ny bydd gwiw gantaw eu gwrandaw, dywait
wrth yr Eccleis: ac a's ef ny vynn wrandaw 'r Eccleis
‡ anffyddlon a' thollwr — chwaith, bit ef y-ty megis ‡ Cenedlic a Phublican. Yn
wir y dywedaf, ychwi, Pa *bethe* pynac a rwymoch ar y
ddaiar, a rwymir yn y nefoedd, a' pha *bethae* bynac a
ellyngwch ar y ddaiar, a ellyngir yn y nef. Trachefyn,
*yn wir* y dywedaf wrthych, a's cydsynnia dau o
* ar — hanoch * yn y ddaiar ar *ddim* oll, *beth* bynac ar a
archant, y rhoddir yddynt y gan vy-Tat yr hwn 'sy
yn y nefoedd. Can ys *ym*p'le pynac ydd ymgynnull
‡ perfedd — dau n'ei dri, yn vy Enw i, yno ydd wyf yn ei ‡ cenol
wy.

*Yr Euangel y xxij. Sulgwedy Trintot,* — ¶ Yno y daeth Petr ato ef, ac a ddyvot, Arglwydd,
pa sawl gwaith y pecha vy-brawt im erbyn, ac y
maddeuaf yddaw? *ai* yd seithwaith? Yr Iesu a ddyvot

wrthaw, Ny ddywedaf y-ty, yd seithwaith, anid yd * seithwaith ‡ ddecwaith seithwaith. Am hynny y cyffelypir teyrnas nefoedd i ryw Frenhin, ‡ pwy vynnei gael cyfrif * can ei weision. A' phan ddechreysei gyfrif, e dducpwyt vn attaw, a oedd yn ei ddylet o ddec mil o ‡ talentae. A' chan nad oedd ganto ddim oei daly, e 'orchymynawdd ei Arglwydd y werthy ef, a' ei wreic, a' ei blant, ac oll * a veddei, a' thaly *yr ddlet*. A'r gwas a gwympawdd i lawr, ac atolygawdd iddaw, can ddywedyt, Arglwydd, ‡ oeda dy ddigoveint wrthyf, a' thalaf y-ty *y cvvbl* oll. Yno Arglwydd y gwas hwnw a drugarhaodd wrtho, ac ei gellyngawdd, ac a vaddeuawdd iddaw y ddled. A' gwedy myned y gwas ymaith, e gavas vn oe * gyveillion, yr hwn oedd yn y ddlet ef o gant ceiniawc, ac a ymavlawdd yntaw ac ei llindagawdd, gan ddywedyt, Tal i mi ‡ dy ddlet. Yno y syrthiawdd ei gyfeill wrth y draet ef, ac a atolygwadd yddaw, can ddywedyt, * Oeda dy ddigoveint wrthyf, a' thalaf y-ty *y cvvbyl* oll. Ac ny's ‡ gwnai ef, anyd myned a' ei vwrw ef yn-carchar, y 'n y dalei yr ddlet. A' phan weles ei gyveillion *ereill* y pethau a * ddaroedd, ydd oedd yn ddrwc dros pen ganthwynt, ac a ddeuthant, ac a vanegesant y ew h' arglwydd yr oll pethae a ddarvesynt. Yno y galwawdd ei Arglwydd arnaw, ac a ddyvot wrthaw, *A* was ‡ drwc, maddeueis yty yr oll ddyled, can yty weddiaw arnaf. Ac a ny ddylesyt tithe tosturiaw wrth dy * gyfeill, megis ac y tosturiais i wrthy ti? A' llitiaw a wnaeth ei Arglwydd, ac ei rhoddes ef ir poenwyr, y'n y dalei ei holl ddylet iddaw. Ac velly yr vn ffynyt y gwna veu nefawl Dat i chwithae, any vaddeuwch o'ch calonae, pop vn * y'w vrawd eu ‡ camweddae.

* ddec a thrugein waith, sef ccccxx, nid amgen eb rivedi
‡ y
* aei
‡ yncylch lx. li. oedd pop talent cyffredin
* oedd yn ei helw
‡ gohiria, heddycha, pwylla, bydd dda dy amynedd
* gydweision
‡ vy
* Esmwytha
‡ mynnei
* wneithit
‡ nall
* gydwas
* ydy
‡ sarhaedae, trespasae

## Pen. xix.

Christ yn dangos am ba achos y gellir yscar gwraic. Bot * diweirdep yn ddawn gan Ddyw. Ef yn derbyn rhei bychain. I gahel bywyt tragyvythawl. Mai braidd y bydd yr hei goludoc vot yn gadwedic. Ef yn gaddaw ir ei a ymwrthodesont ar cwbyl yw ddilyn ef, vychedd dragywythol.

* *ymgynnal*

AC e ddarvu, gwedy ir Iesu 'orphen yr ymadroddion hyny, ef a ymadawodd a Galilaea, ac a ddaeth i * ffinion Iudaea y tuhwnt y Iorddonen. A' ‡ thorfoedd lawer y dylinodd ef, ac ef y iachaodd wy yno.

* dueddae
‡ minteioedd

Yno y daeth y Pharisaieit attaw, gan y demptio ef,
*yscar,vaddeu, a' dywedyt wrthaw, Ai cyfreithlon i wr *wrthddot ei
roi ymaith wraic am bop ‡achos? Ac ef a atepawdd ac a ddyvot
‡bui wrthwynt, A' ny ddarllenasach, pan yw i'r vn y
gwnaeth *vry* yn y dechreu, yn wryw a' benyw ei
*dywedyt gwneythy*d* hwy, *ac a ddyvot, O bleit hyn y gad *y*
‡ymgassyllta, dyn dad a' mam ac y ‡gly yn wrth ei wraic, ac ylldau
cyda y byddant *yn* vn cnawt? Ac velly ni*d* ynt mwy*ach*
yn ddau, anyd vn cnawd. Na bo i ddyn gan hyny
*yscar ‡'ohany yr hyn a *gyssylltodd Duw. Wy a ddywet-
esont wrthaw, Paam gan hyny y gorchymynodd Moysen
*ymadaw, roi llythr *yscar, a'i ‡gellwng hi ymaith? Ef a ddyvot
gyru wrthwynt, Moysen erwydd caledrwydd eich calonae, a
'oddefodd yw'ch wrthddot eich gwragedd: eithr o'r
dechreu ny*d* oedd *hi* velly. A' *mi* dywedaf ychwi,
*anyd, mai pwy pynac a wrthddoto ei wraic, *dyethr am
‡puteindra ‡'odinep, a' phriody *vn* arall, y vot yn *tori priodas,
*godinibu a' phwy pynac a briota hon, a yscarwyt, a dyr briodas.
*Yno* y dyvot ei ddiscipulon wrtho, A's felly y mae 'r
‡peth, helhynt ‡devnydd rhwyng gwr a' gwraic, ny da *priodi *gwraic.*
*gwreica Ac ef a ddyvot wrthwynt, Ny all pawp ‡*dd*erbyn y
‡gynnwys *peth hyn, any*d* yr ei y rhoed yddwynt. Can ys y
*gair mae'r ei yn ddiweir ar a anet velly o groth *ei* mam: ac
y mae'r ei yn ddiweir, a wnaed yn ddiweir gan ddynion:
ac y mae'r ei yn ddiweir, a ei gwnaeth yhunain yn
ddiweir er *mvvyn* teyrnas nef*oedd*. Y nep a all *dd*erbyn
hyn, *d*erbyniet.

Yno y ducpwyt ataw 'rei bychain, er iddo ddody *ei*
ddwylo arn*add*ynt, a' gweddio: a'r discipulon y cer-
yddawdd wy. A'r Iesu a ddyvot, Gedewch ir ei
bychein, ac na 'oharddwch yddynt ddyvot atafi: can
ys ir cyfryw 'rei y mae teyrnas nef*oedd*. A' gwedy
iddo ddody *ei* ddwylo arn*add*ynt, ydd aeth ef ymaith
‡Ac wele o *dd*yno. ‡A' nycha, y daeth vn, ac y dyvot wrthaw,
*beth da Athro da, pa *dda a wnaf, ‡yn y chaffwyf vuchedd
‡val &c. dragyvythawl? Ac ef a ddyvot wrthaw, Paam y
gelwy vi yn dda? ny*d* da neb, any*d* vn, *ys ef* Dyw:
and a's wyllysy vyned *y myvvn* i'r bywyt, cadw 'r
gorchymynion. Ef a ddyvot wrthaw *ynte*, Pa 'r ei?
*wna odinap A'r Iesu a ddyvot, Yr ei hynn, Na ladd: Na *thor
briodas: Na ledrata: Na ddwc gamtestiolaeth. An-
rydedda *dy* dad a*th* vam: a' cheri dy gymydawc
*gwas mal ty vn. Y *gwr-ieuanc a ddyvot wrthaw, *Mi*
gedwais hyn oll o'm icuntit: beth 'sy yn eisiae i mi

hyny, gwybyddet oll tuy yr Israel yn ddiogel, bod i Ddew y wneythyt ef yn Arglwydd ac yn Christ, *ys ef* yr Iesu hwn, yr vn a groceso-chwi. Yn ol yddynt clywet hynn, y brethit wy yn ei calonae, ac ei dywedynt wrth Petr a'r Apostolon yr eill, *A* wyr vroder, pa beth a wnawn? Yno y dyvot Petr wrthwynt, Gwellewch eich *buchedd, a' batyddier pop vn o honawch yn Enw yr Arglwydd Iesu Christ er maddeuant pechatae, a' chwi a *dd*erbynywch ‡ddawn yr Yspryt glan. Can ys yr a ddewit a *vvnaethpvvyt* y *chvvy*chwy, ac y eich plant, ac i bawp y sydd ym-pell, *ys ef* pwy rei bynac y 'alwo yr Arglwydd ein Dew *arnynt*. Ac a llawer o eiriae eraill y testolaethawdd, ac yr eiriolawdd *arnvvynt*, gan ddywedyt, Ymgedwch rac y genedlaeth anhydyn hon. Ac yno yr ei a *dd*erbynyent yn llawen y *amadrodd ef, a vatyddiwyt: a'r dydd hwnw y ‡dodwyt *vvrth yr eglvvys* yn-cylch tair mil o eneidiae. A' pharhay a wnaethant yn-dysc yr Apostolon, a' chymddeithas, ac yn tori bara ac *yn*-gweddion,

* bywyt
‡ rodd
* air
‡ angwanegwyt, enillwyt

Ac e *gyvodes ofn ar bop enait: a' llawer o ryveddodae ac arwyddion y wnaethpwyt y gan yr ‡Apostolon. A' phawp ar y gredent, oedd yn yr vn lle, a' phob peth oedd ganthwynt yn gyffredin. Ac wy werthesont ei perchenogaethae a' ei da*oedd*, ac ei parthesant i bawp, megis *ac* ydd oedd *yr* eisiae ar pop vn. Ac aros ydd oeddent beunydd yn vnvryd yn y Templ, ac yn tori bara *gartref, ac yn cymeryt bwyt yn-cyt, mewn llewenydd a ‡sym*p*lder calon, gan voli Dew, ac yddwynt *gariat gan yr oll popul: A'r Arglwydd a angwanegawdd i'r Eccleis beunydd, cyfryw ac a vyddent cadwedic.

* ddaeth
‡ Ebestyl
* ynphef
‡ gwiriondeb
* rat,, hoffedd

## Pen. iij.

Cahel o'r efrydd veddu ar ei draet. Petr yn preeethu Christ ir popul.

PETR ac Ioan aethant ynghyt ir Templ, ar y nawvet awr y gweddi*avv*. A' rryw wr yr hwn oedd yn *efrydd o groth ei vam, a ddugit, yr vn a ddodent beunydd wrth porth y Templ, y elwit *y porth* Pryd-verth, y'ofyn eleesen*dot* gan yr ei y elent y mewn ir Tem*p*l. A' phan welodd efPetr ac Ioan, ar vynet ir Tem*p*l, e ddeisyfawdd gahel eleesen. Ac Petr yn ‡dal selw arnaw, y gyd ac Ioan, a ddyvot, Edrych arnam. Ac ef a *ddaliawdd arnwynt, gan obeithiaw *d*erbyn ryw beth ganthynt. Yno y dyvot Petr, Ariant ac aur nid

* burglof, grypl
‡ edryoh, craffy
* gadwodd

oes genyf, and y cyfryw beth *y'*sydd genyf, hyny a ‡rof yty: Yn Enw yr Iesu Christ o Nazaret, *cyvod a' rhodia. Ac ef ei cymerth *erbyn ei ddehaulaw, ac ei cyvodes y vyny*dd*, ac yn ebrwydd y cyfnerthwyt ei draet a' ei ‡ffere. A' neitiaw o honaw i vyny*dd*, sefyll a' rrodiaw a' mynet i mewn gyd ac wynt i'r Tem*p*l, gan rodiaw, a' *neitiaw a' moli Dew. A'r oll ‡popul y gwelawdd ef yn rhodiaw, ac yn molianny Dew. Ac ydd oeddent yn ei adnabot, may ef e *yt*oedd yr hwn oedd yn eistedd y *'*ovyn* eleesen wrth borth Prydverth y Templ: a ryveddy a sanny a wnaethant wrth y peth, a *ddar*vesei iddaw.

‡ ddodaf
* cwyn, cwna
* erwydd
‡ vigyrne
* llemain
‡ werin
* gardota

Ac mal ydd oedd yr efrydd yr hwn a iachesit, yn ‡attal Petr ac Ioan, y rhedawdd yr oll popul yn sannedic attwynt *ir porth, y elwit *porth* Selef. A' phan welawdd Petr *hyn*, ydd atebawdd wrth y popul, *Ha* wyr *yr* Israel*ieit*, paam ydd ych yn rryueddu wrth hynn? neu paam ydd ych yn hylltremio arnam ni, mal pe o'n meddiant ein hunain *n'*ai o'n dwywolder y gwnaethem ir *gvvr* hwn gerddet? *DEVV* Abraham, ac Isaac, ac Iaco, *DEVV* ein tadae a ‡*g*ogoneddawdd ei Vap Iesu, yr hwn a vradycheso-chwi, ac a wadesoch yn-gwydd Pilat*us*, gwedy daroedd iddaw *ef* ei varny y ei ellwng *e yn rrydd*. Eithyr chwi a ymwadasoch a'r sanct a'r cyfiawn, ac archosoch **cael* rrhoddi 'r llawrydd-celain y chwy, ac a laddesoch Arglwydd y bywyt, yr hwn a g*yv*odes Dew o veirw, i ba vn ydd ym ni yn testion. A' y Enw a iachaodd ef *y gvvr* hwn, yr vn a welwch ac 'adwaenwch, trwy ffydd yn y Enw ef: a'r ffydd ys y trwyddaw *ef*, a roddes yr iachawrwydd hwn yn eich ‡gwydd chwi oll. Ac yn awr vroder, y gwn mae trwy anwybot ei gwnaethoch, mal y *gvvnaeth* hefyd eich pendevigion. Eithr y pethae hynny ar y ragvanagawdd Dew trwy enae ei oll Prophwyti, bot i Christ ddyoddef, y gyflawnawdd ef val hyn. ‡Gwellewch eich buchedd am hyny, ac ymchwelwch, *y n y ddileer eich pechatae, pan ddel amser*e* yr gorphwys o 'olwc yr Arglwydd, ac ef a ddenfyn Iesu Christ, yr hwn a rag pregethwyt ychwy, yr vn vydd dir ir nef ei ‡dderbyn, yd yr amser yr adverer yr oll bethae, ry ddywesei Dew trwy enae ei oll sainct Prophwyti *er *yn oes* oesoedd. Can ys Moysen a ddyvot wrth y tadae, Yr Arglwydd eich Dew a gyvyd y chwy Prophwyt, *ys ef* o eich broder eich vnain yn gyffelyp i

‡ dala
* yny
‡ vawrygawdd, barchawdd
* *bot*
‡ golwc
‡ llywodraethwyr
‡ Penytiwch
* val
‡ gynnal
* o ddechrae yr byt

‡ ef — mi: *ys* gwrandewch ‡arnaw ym-pop peth bynac, a ddyweto wrthych. Can ys e ddervydd, pwy bynac ny ‡ ymaes — wrandaw ar y Prophwyt hwnw, Y destrywer ef ‡o plith y popul. A' hefyt yr oll Prophwyti o Samuel, * lavaresont ddywedesont, — ac o hyny rac llaw, cynniuer ac a *gympwllesont, a raevanegesont eisioes *am* y dyddiae hynn. Chwy*chwy* ‡ ammod — *yd*ych plant y Prophwyti, a'r ‡dygymmod, yr hwn a wnaeth Dew wrth ein tadae, gan ddywedyt wrth Abraham, Ac yn dy had *ti* y bendithir oll *tuy*lwythae yr ddaiar. Yn gyntaf y chwi pan gyvodes Dew i vyny*dd* ei Vap Iesu, a'ei ddanvon ef y eich bedithiaw, gan ymchwelyt pop vn o honoch y wrth eich enwiredd*ae*.

## Pen. iiij

Petr ac Ioan wedy'r ddelifro allan o carchar yn precethy yr Euangel yn hyderus, Hwy yn coffessu yn eglur Enw Christ. Gorchymyn ydd ys na phraecethont mwy yn yr Enw hwnw. Gweddiaw y maent ar rwyddhay rhag yr Evangel. Am vawr gynnyrch, dyvndab ac perfeith cariat yr Eccles.

AC mal ydd oeddent wy yn llavaru wrth y popul, * llywiawdr, llywiodaeth wr — y bu ir Archoffeiriat, a *llywydd y Templ, a'r Sadduceit ddyvot am ei pennae, gan vot yn ddiellawn ganthwynt eu bot yn dysey yr bopul, ac yn praecethy yn *Enw* yr Iesu y cyvodedigaeth o veirw. Ac wynt a roesont *ei* dwylo arnwynt, ac ei dodesont yn-carchar yd ‡ avoru — ‡tranoeth: can ys yr owon gyd a'r hwyr ytoedd hi. Er hyny llawer o'r a wrandawsei yr gair a gredesont, * rriveddi — *a' niuer y gwyr oedd yn-cylch pemp-mil.

Ac e ddarvu y *dydd*, dranoeth, bot y llywiawdwyr hwy, a'*r* Henafiait, a'*r* gwyr llen wedi ymgynull yn-Caerusalem, ac Annas yr Archoffeiriat, ac Caiaphas, ac Ioan, ac Alexander, a chynniuer ac oeddynt o genedl ‡ *in medio* — yr Archoffeiriait. Ac wedy yddwynt ei gosot ‡gwydd- * Can — yn-gwydd ac wynt, y gofynesont, *Trwy pa allu, *n* ai ym-pa Enw y gwnaetho-chwi hynn? Yno Petr yn gyflawn o'r Yspryt glan, a ddyvot wrthwynt, *Chwychwi* lywiawdwyr y popul, a' Henyddion yr Israel, can bot in *holi *ni* heddyw o bleit gweithret da *avvaetham* i ddyn egwan, *ys ef* pa wedd, ydd iachawyt ef, bit wybodedit ychwy oll, ac i oll bopul *yr* Israel may trwy Enw Iesu Christ o Nazaret, yr vn a groeeso-chwi, yr vn a *ad*gyvodes Dew i vyny*dd* o veirw, *ys*trwy ddaw *ef* y saif y*dyn* hwn geyr eich bron chwi *yma* yn iach. ‡ gareg — Hwn yw'r ‡maen a vwriwyt heibio genwchwi yr adeil-

atwyr, yr hwn a *wnaethpwyt yn ben congyl. Ac nid oes iechyd*vvrieth* yn nep arall: can ys ym-plith dynion ny roddwyt ‡vn enw arall y dan y nef, y gellir ein iachay y ganthaw. A' phan welsant *hyder Petr ac Ioan *yn amadrodd* a' deall y bot wy yn anllytheren-awc ac eb ‡ddysc ganthwynt, rhyveddy a wnaethant, a' ei adnabot, pan yw ei bot hwy y gyd a'r Iesu: ac wrth welet hefyt *y dyn a iachesit yn sefyll gyd ac wynt, ny allent ddywedyt dim yn erbyn *y peth*. Eithyr gorchymyn yddwynt cilio o ywrth y ‡Cyccor, ac ymgygcori yn ei plith ei hunain a wnaethant, gan ddywedyt, Pa beth a wnawn i'r dynion hynn? can ys y'n ddiau e wnaethpwyt arwydd *eglur y canthwynt, ac y mae yn amlwc *hyn* y gan pawp 'sy yn preswilio yn-Caerusalem ac ny allwn *ni* wady. Eithr rac ei gyhoeddy ‡ym-pellach ym-plith y popl, bygythiwn a' *bygylwn hwy, na bo yddynt gym*p*wyll mwy*ach* wrth ‡nep dyn yn yr Enw hwn. A'i galw a wnaethant, ac a 'orchymynesont yddynt na byddei yddynt ym-modd yn y byd gympwyll na dyscu '*r bopul* yn Enw 'r Iesu. Ac *yno* Petr ac Ioan a atebesant yddynt, gan ddywedyt, Ai iawn yw yn-golwg Dew *vfyddhay i chwi yn hy-trach ai i Ddew, bernw-chwi. Can na allwn na ddywetom y *pethe* 'welsam ac a glywsam. Ac velly ei bygyly a wnaethant, a' ei gellyng ymaith, eb vedry cahel dim *deunydd* y *poeni wy, o bleit y p opul: can ys pawp oeddynt yn ‡gogoneddy Dew, o bleit y peth y *wnaethoeddit. Can ys ydd oedd y ‡dyn yn vwy no dauugain *blvvydd* oed, y *gwneythit y ‡gwyrthiae yma or iachay arnaw. Yno wedy daroedd gyntaf ei gellwng ymaith, yd aethant at ei *cyneillon*, ac venag-esont yr oll bethae'ry vesei ir Archoffeiriait a'r Hen-yddion *ei* ddywedyd wrthwynt. A' phan ei clywsant *vvy*, derchafy ei llef ar Ddew a wnaethant yn vnvryd, a' dywedyt, Arglwydd, ti yw 'r Dew r'y wnaeth*ost* nef a' ddaiar, a'r mor a' *chymeint* oll ys ydd ynthwynt, yr hwn trwy enae dy *was Dauid a ddywedeist, Paam ydd ymgynddeiriogodd y Cenetloedd, ac y meddyliawdd y popul *bethæ* gweigion? Brenhinedd y ddaear a ymgasclesont, a'r llywiawdron a ddaethant yn-cyt, yn erbyn yr Arglwydd, ac yn erbyn y Christ ef. Can ys yn wir yn erbyn dy sanct Vap Iesu, yr hwn a *enneiniaist ydd ymgymiullawdd Herod ac Pontius Pilatus y gyd a'r genetloedd a *ph*opul *yr*

* aeth
‡ neb
* eonder, lew-der
‡ wybodaeth
* yr hwn
‡ *Synneddr*
* amlwc
‡ trigio
‡ mwyach
* yn vygulus
‡ vn
* gwrando
* cospi
‡ moli
* vesei, ddar-vesei
‡ gwr
* ddangosesit
‡ *signum*
* *cymddeithion*
‡ Eineiniedic, iredic
* iraist

Israel, i wneythy'r beth bynac a ddaroedd ith law ac ith gygcor *di* raedervyny ei wneythy'r. Ac yn awr Arglwydd, edrych ar ei ‡bygylae, a' chaniat*ha* ith weison ymadrodd dy air yn gwbyl hyderus, y n y bo yty estyn dy law, yd pan yw bot gwneythy'r iachay, ac arwyddion a' ryveddodae drwy Enw dy sanct Vap Iesu. A' gwedy yddwynt weddiaw, y cyffroawdd y lle ydd oeddent wedy'r ymgynnull, ac y cyflawnwyt wy oll o'r Yspryt glan, ac wy a ymadroddesont 'air Dew yn *hyderus. A' lliaws yr ei oedd yn credy, *yt*oeddd o vn galon, ac un enait: ac ny ddyvot yr vn o hanwynt am ddim oll a veddei, ei vod yn eiddaw ehun, amyn bot pop peth yn gyffredin ganthwynt. Ac a mawr gadernit y rhoes yr Apostolon testiolaeth cyfodiat yr Arglwydd Iesu, a' rrat mawr *yt*oedd arnwynt oll. Ac nid oedd vn yn ei plith, ac eisie arno: can ys cymminer ac oedd yn meddy tiredd *n*ai tai, ei gwerthy a wnaethant, a' dwyn gwerth y pethae y werthit, a'ei *'osot ilawr wrth draet yr Apostolion. A' rhanny a wneit i bop vn, megis ydd oedd yn rhait iddaw *vrtho*. Ac Ioses yr hwn a elwit y gan yr Apostolon Barnabas (ys ef yw hyny o ei ddeongl map diddanwch) *oedd* yn Leuit ac o *vrlad* Cyprus, o enedigaeth, ac ef yn perchenawc tir, ei gwerthawdd, ac a ddue yr ariant, ac ei gesodes wrth draet yr ‡Apostolon.

‡ bygythio
* eon, llyfasus
* hyf, llyfasus
* dddodi

## Pen. v.

Poeni ffuc sancteiddrwydd Ananias ac Sappheira. Gwyrthiae y gan yr Ebestyl. Ei daly hwy, eithyr bot Aangel Dew yn ei dwyn allan o carchar. Ei cyffes hyderus geyr bron y Cygcor. Cygcor Gamaliel Bayddy yr Ebestyl, a' bot ei llewenydd y mewn trwbl.

A *RRYW 'wr aci enw Ananaias, y gyd a Sapheira ei wraic, a werth*esei* berchenogaeth, ac a ddodes heibio *bart* o'r gwerth, a'*ei* wreic hefyt oei *gyt*gycor, ac a ddue ryw gyfran, ac ei ‡gesodes wrth draet yr Apostolon. Yno y dyvot Petr, Ananias, paam y cyflawnodd Satan dy galon, yd pan yw yt y ddywedyt celwydd wrth yr Yspryt glan, a' chadw ymaith *gyfran*, o werth y ‡perchenogaeth? Tra ytoedd yn aros *ith veddiant*, anid tydi bioedd? ac yn ol ei werthy, anid *yt*oedd yn dy veddiant? paam y gesodeist y peth hyn yn dy galon? Ny ddywedeist gelwydd wrth ddynion, amyn wrth Ddew. A' pan

* neb, nebun
‡ dodes
‡ tir

glybu Ananias y geiriae hyn, y cwympodd y lawr,
ac y *diffoddes. Y no y daeth ofn mawr ar *pavvb* ‡bu varw
ol' a glywodd hyn yma. A' chyvody or gwyr ieuainc,
a' ei gymeryd *i vyny*, a' ei ddwyn allan aei gladdy.
Ac e ddeddyw megis ar ben yspait teirawr gwedy,
bot ydd y wreic ef ddyvot y mewn, eb wybot y peth
a wnaethoeddit. Ac Petr a ddyvot wrthei, Dywait
i mi, a werthesoch chwi yr tir er cymmeint? A'
hi*the* ddyvot, Do, er cymmeint. Yno y dyvot Petr
wrthei, Paam y darvu y chwy ‡gytuno yn eich plith
i *tempto Yspryt yr Arglwydd? nachaf, draet yr ei *proui
a gladdesont dy 'wr *ynt* wrth y drws, ac *vvy* ath
‡cyhebryngant ti y allan. Ac yn ddiannot y dy- ‡ddygant
gwyddawdd i lawr wrth y draet ef ac hi diffoddes:
dyvot o'r gwyr ieueinc y mewn, a' ei chael yn varw,
a'ei dwyn allan, a' hei chladdy geir llaw *h*ei gwr. Ac
dyvot ofn mawr ar yr oll Eccles, ac yr oll 'r ei 'ry glyw-
sent y pethae hyn. Ac *val hyn* 'drwy *ddvvy*law yr
Apostolon y dangosit llawer o arwyddion a' thra
rryveddodae ym-plith y popul (ac ydd oeddent oll yn
vnvryt ym-porth Selef. Ac o'r lleill ny veiddiai nep *Yr Epistol ar ddydd S. Bartholomeus.*
ymwascy ac wynt: er hyny yr popul y mawrygei *h*wy.
Hefyt, *lliaws y rei oedd yn credy yn yr Arglwydd, *niuer
ac yn wyr ac yn wragedd oedd yn tyfu vwywy,) yd
pan ddugent y cleifion i'r heolydd, aei gesot mewn
gwelyae a' ‡glwthae, y ny bei pe gwascot Petr, wrth ‡thrylae
ddyvot heibio, wascodi *rryw vn o hanwynt. Ac e *nep
ddaeth hefeit lliaws *allan* or dinasoedd ‡o y amgylch
i Caerusalem, gan ddwyn, *'r ei afiach, a' rei a *cleifion
gythrwblit gan yspryton aflan, ac y iacheit wy oll.

Yno y cyvodes yr Archoffeiriat, a'r oll 'rei oedd
gyd ac ef (yr hwn *yt*oedd ‡sect y Tsadduceit) ac ydd ‡'ohanred
oeddynt yn llawn *bocsach, ac a ddodesont ddwylo *gwynvyt, soriant
ar yr Apostolion, ac ei dodesont yn y carchar cyffredin.
Eithyr Angel yr Arglwydd, o ‡hyd nos agorawdd ‡rhyd
ddrysae yr carchar, ac y duc wy allan, ac a ddyvot,
Ewch ymaith, a' sefwch yn y Templ, a' llavarwch wrth
y popul oll 'airie'r vuchedd hon. Wy*the* pan glyw-
sont *hynn yma, a* aethant y mewn ir Templ yn vorae
ac a ddyscesont *y vverin*. A'r Archoffeiriait a ddaeth,
a'r ei oedd gyd ac ef, ac a alwesont y *Cygcor yn-cyt, *Syneddr, Consti
ac oll Henafieit plant *yr* Israel, ac a *dd*anvonesont *rei*
ir carchar i beri y ‡dwyn wy. Anid pan ddaeth y ‡dugu
swyddogion, ac eb y cahel *hvvy* yn y carchar,

ymchwelyt a' manegy a wnaethant, gan ddywedyt,
Diau gahel o hanam *ni* y carchar*dy* yn gaead yn dra
diescaelus, a'r ceidweit yn sefyll allan, ‡rac y drysae:
eithyr gwedy i ni *ei* agori, ny chawsom *ni* neb y mewn.
Yno gwedy ir archoffeiriat, ac llywodraethwr y Tem*pl*,
a'r Archoffeiriait glywed y pethae hynn, *petrusaw
am danwynt a wnaethant, pa beth a vyddei o hyn.
Yno yd aeth vn, ac a venagawdd ydd-wynt, gan
ddywedyt, ‡Nachaf, y gwyr y ddodesoch yn-carc*h*ar
ynt yn sefyll yn y Templ, ac yn dyscy yr popul.
Yno ydd aeth y llywyawdraethwr ef a'r swydd-
ogion, ac y duc hwy ‡yn ddysarhaet, (can ys ydd oedd
arnwynt ofn y popul, rac y llapyddit wy) A' gwedy
yddwynt y dwyn hwy, wy ei gesodesont ger bron y
Cygcor, a'r Archoffeiriat a ovynawdd yddwynt, gan
ddywedyt, *A* ny orchymynesam *ni* yn *gaeth ychwy,
na ddysceech nep yn yr Enw hwnn? ac wele *ys* darvu
ychwy lanwy Caerusalem aeich dysc, a' chwi vynnech
ddwyn gwaet y *dyn hwnn arnam. Yno Petr a'r
Apostolon atebesant, ac a ddywedesont, ‡Dir yw *yni*
vfyddhay yn vwy i Ddew nac i ddynion. Dew ein
tadae a gyvodes Iesu y *vyny* yr hwn a laddeso-chwi, ac
a grocessoch ar brenn. Hwnn a dderchavodd Dew a
ei ddehaulaw, *i vot* yn Dywysawc ac yn *Iachawdur, y
roddy ediveirwch ir Israel, a' maddeuant pechatae, Ac
ydd ym ni yn testion iddo am y pethae hyn y ddy-
wedwn: ac ‡hefyt yr Yspryt glan, yr hwn a roddes
Dew ir ei a vfyddaant iddo. A' phan glywsant wy
hyn, wy doresont ar ei traws rac dic, ac ymgygcoresont
ym lladd hwy. Yno y cyvodes y vyny*dd* yn y Cygcor
*neb Pharisai, a' ei enw Gama-liel, ‡athro or Ddeddyf,
*vn* parchedic gan yr oll popul, ac a 'orchymynawdd beri
enciliaw ar Apostolon allan ychydig*yn*, ac a ddyvot
wrthwynt, *Ha*wyr *yr* Israelieit, edrychwch arnoch eich
hunain pa beth a wneloch am y dynion hynn. Can ys
o vlaen y *dyddiae hynn, y *cyf*odes *vn* Theudas, ‡gan
ymffrostio, ac attaw yr ymwascawdd o rivedi gwyr,
yn-cylch petwar-cant, ac ef a las: ac wynt y oll oedd yn
*coelio iddaw, a 'oyscarwyt, ac a ddiddimiwyt. Yn ol
hwn y y codes Iudas o'r Galelaia, yn-dyddiae yr teyrn-
get, ac ef a ‡droses bopul ‡liosawc yn ei ol: ef e hevyt
a gyfergollwyt, a' chynniuer ac a gydsynniawdd ac ef, a
hylltranwyt. Ac yr awrhon y dywedaf wrthych, ‡En-
ciliwch y wrth y dynion hynn, a' gedwch yddwynt

‡ ar gyvor, gyferbyn
* amhau, dowto
‡ Wele.
‡ eb drais
* ddirvin
* y gwr ys ef Christ
‡ Raid
* Geidwad
‡ ys
* ryw
‡ doctor or Gyfraith
* amser
‡ ymorugo
* vfyddhwy
* dynawdd
‡ lawer
* ddivawyt, oyscarwyt.
‡ ymoglwch ymgadwch, ymdynwch, ymochelwch

*lonydd:* cans ad yw yr cygcor, *hyn* ai weithred hon o ddynion, ei ‡goyscerir: eithr a's o Ddew y mae, ny ellwch *ddim oi* ‡ddinistrio, rac bot eich caffael yn ymladdwyr-yn-erbyn-Dew. A' chytuno ac ef a wnaethant, a' galw yr Apostolon: a' gwedy yddwynt *beri* ei fustaw, y gorchymynesont na ‡lauarent yn enw yr Iesu, a' ei gellwng ymaith a wnaethant. Ac wyn*teu* aethant ymaith o geyr bron y Cygcor, gan *ym*lawenhay can ys ei teilyngy y gael ei amperchi dros y Enw ef. Ac beunydd yn y Templ, ac o d*u*y y d*u*y ny pheidiasant a dyscy a' phregethy *o* Iesu *y* Christ.

* diddimir, diffrwythir
‡ ddatdot, vyscu
* chymmwyllent.

## Pen. vj.

**Saith Daiacon a ordeinir yn yr Eccleis. Radae a' gwyrthiae Stephan, yr hwn a gyhuddesant wy yngham, ac yn ddiachos.**

AC yn y dyddiae hynny, val y tyvei niveiri'r'discipulon, e godes *murmur gan y Groegieit yn erbyn yr Hebrewyr, can ys tremegy y gwragedd-gweddwon hwy yn y gwenidogaeth beunyddawl. Yno yr dauddec a alwasont y lliaws discipulon yn-cyd, ac a ddywetsont, Nid yw cymmesur *g*ady o hanam *g*air Dew a' gwasadaethy yr *bordae. Ac am hyny vroder, edrychwch yn eich plith am seith-wyr da ei gair, ac yn gyflawn o'r Yspryt glan, ac o ddoethinep, yr ei a 'osotom yddyn y gorchwyl hwn. A' ni*ne* a ymrown yn 'oystat i weddiavv, ac y *ar*weiny y gair. Ac boddlawn vu gan yr ‡oll lliaws yr amadrodd hynny. Ac wy a *dd*etholesant Stephan gwr yn llawn o ffydd ac or Yspryt glan, ac Philip, ac Prochorus, ac Nicanor, ac Timon, ac Parmenas, ac Nicolas y *proselyt o Antiocheia, yr ei 'n a osodent wy geyr bron yr Apostolon: ac wynt a weddiasont, ac a ddodesont ei dwylaw arn*addvv*ynt. A' gair Dew a dyvodd, ac a ‡liosocawdd niuer y discipulon yn-Caerusalem yn *ddir*vawr, a' thorfa vawr o'r Offeirait a vvyddesont ir ffydd.

* grwgnach
‡ diystyry
* byrddeu
‡ dyrfa
* dieithr
‡ amylhaodd

Ac Stepha nyn llawn o ffydd a' *nerth, a wnaeth ryveddodae mowrion ‡a' gwyrthiae ymplith y popul. Yno y c*yv*odes 'r ei o'r Synagog a elwir Libertinieit, a' Cyreniait ac o Alexandria, ac or ei o Cilicia, ac o Asia, ac a ddadleysant ac Stephan: ac ny allent wrthnepy y doethinep, a'r Yspryt y gan yr hwn ydd oedd ef yn ymadrodd. Yno *y gesodesont wyr, y ddywedent, *Ni* y clywsam ef yn ‡llavaru cabl-airiae yn erbyn Moysen, a' Dew. Ac val hynn y cyffroesant *vvy* y *plwyf a'r

* chadernit
‡ ac arwyddion
* yd anvonesont
‡ dywedyt adrodd
* popul

Henafieit, a'r Gwyr-llen: ac a ruthrasont iddaw, ac a ymaflasont ynto, ac ei ducesant at a Cycor, ac a 'osodesont destion ‡gauoc, yr ei a ddywedesont, Y dyn hwn ny phait a llavaru cabl-airiae yn erbyn y lle sanctaidd *hwn, a'r Ddeddyf. Can ys clywsam ef yn dywedyt, y bydd ir Iesu hwn o Nazaret ddestrywio y lle hwn, ac ‡ysmuto 'r *cynneddfeu, y roddes Moysen y nyni. Ac val ydd oedd yr oll r'ei y eisteddent yn y Cycgor, yn ‡edrych yn graph arnaw, y gwelent ei wynep val petei wynep Angel.

‡ ffeils
* yma
‡ uewediaw
* seli

## Pen. vij.

Stephan yn gwneythy'd atep wrth yr Scrythur yw gyhuddwyr. Cerydd y mae ef yr Iuddeon anhydyn. Ei lapyddio ydd ys yd angae. Saul ys y yn cadw dillat y llapyddwyr.

YNO y dyvot yr Archoffeiriat, A ytyw 'r pethae hynny velly? Ac yntef ddyvot, A-wyr vroder, a' thadae, gwrandewch. Dew yr gogoniant a ymddangosawdd ydd ein tad Abraham, pan ytoedd ym-Mesopotamia, cyn trigaw o honaw yn-Charran, ac a ddyvot wrthaw, Dyred allan oth wlat, ac y wrth dy *dulwyth a' dabre i'r tir a ddangoswyf yty. Yno yd aeth ef allan o tir y Chaldaieit, ac y preswyliawdd yn-Charran. Ac yn ol marw ei dad, y duc Devv ef o ddyno ir tir hyn, ydd y-chwi yn preswyliaw ynddo yr awrhon. Ac ny roddes iddaw ddim etiueddiaeth ynthaw, na ddo, led ei troed: ac e addawodd ei rodody iddaw y ei ‡veddianny, ac yw had yn ei ol, pryd nad ytoedd eto vn map yddaw. Ac Dew a lavarodd val hynn, y byddei y had ef yn *'odrigiawl mewn tir estran, ac yddwynt ei wasy, a' bod yn ddrwc wrthaw dros petwar-cant o vlyddyned. Eithyr y ‡genedl y *wasanaethent yddi, a varnaf vi, medd Dew: ac yn ol hyny, ydd ant allan, ac im goasanaethant i yn y lle hwn. Ac ef a roddes iddaw ‡ddygymbot yr enwaediat: ac velly Abraham a genetlodd Isaac, ac a enwaedodd arno yr wythfet dydd: ac Isaac a gavas Iaco, ac Iaco a enillavvdd y deuddec Patriairch. A'r Patriarchae gan ‡wynfydy a werthesont Ioseph ir Aipht: anid bot Dew gyd ac ef, ac ei gwaredawdd oei oll gyfingdereu, ac a roddes yddaw garueiddrwydd a' doethinep yn-golwc Pharao Vrenhin yr ‡Aipht, yr hwn ei gwnaeth yn llywodraethwr ar yr Aipht, ac ar ei oll tuylwyth.

* drase, gereint
‡ 'orescyn
* alltud
‡ nasion
* byddent mewn caethiwet
‡ testament
* cenvigenu
‡ Egypt.

Yno y daeth newyn dros oll tir yr Aipht, a' Chanaan,

a' blinvyd mawr, mal na chafas ein tadae or *bwytae. Eithyr pan glybu Iaco vot ‡yd yn yr Aipht, e danvonawdd ein tadae yn gyntaf. A'r ailwaith, yr adnabuwyt Ioseph gan ei vroder, a' chenedl Ioseph ‡aeth mewn cydnabot a Pharao. Yno yd anvones Ioseph *genadon* ac a barawdd *ymoral*vv* am ei dad *Iaco*, ef a ei oll genedl, *nid amgen* pempthec a thri-ugain enaid*ie*. Yno y ddaeth Iaco y waered ir Aipht, ac y bu varw, ef a ein tadae, ac ydd ysmutwyt hwy i Sychem, ac ei dodwyt yn y ‡bedd y brynesei Abraham *am arian*vverth* y gan veibion Emor *vap* Sychem. A' phan *yt*oedd amser yr addewit yn *dy*nesay, yr hwn a dyngesei Dew wrth Abraham, y tyfawdd y popul ac y lliawsocawdd yn yr Aipht, yd pan gyvodes Brenhin arall, yr vn nyd oedd yn adnabot Ioseph. Hwn yma vu ddichellgar wrth ein *Ryw *ni*, ac a ‡ddrygawdd ein tadae, ac a barawdd yddynt vwrw allan ei plant newyddian, val na chaffent vot yn vyw. Ac yn y *cyf*amser hyn y ganet Moysen, ac ydd oedd ef yn gymradwy gan Ddew, yr hwn a vagwyt dri-mis yn t*u*y ei dat. Ac wedy ei vwrw allan, y c*yv*odes merch Pharao ef y vyny*dd*, ac ei magawdd yn vap yddi ehun. Ac Moysen oedd ddyscedic yn oll ddoethinep yr Aiphtieit, ac ydd oedd yn *nerthawc yn-gairiae ac yn gweithreddedd. A' phan *yt*oed ef yn ddauugain-blwydd llawn, yr ‡escennawdd yn ei galon *vynet y* ymwelet a ei vroder, plant *yr* Israel. A' phan weles ef vn *o hanvvynt* yn cahel cam, ef ei amddyffynnawdd, ac a ddialawdd gam yr hwn a gawsei yr sarhaet, gan *vaeddy yr Aiphtiwr. Can ys tybiawdd ef vot ei vroder yn deall, bot i Ddew trwy y law ef roddy ymwaret yddwynt*vvy:* ac wy*the* ny's dyall*d*esont. A'r dydd nesaf, yr ymddangosawdd yddwynt ac wynt yn cynneny, ac a *vynysei* ei ‡cymmodi *drachefn*, gan ddywedyt, *A* wyr, ydd y-chwi yn vroder, paam ydd yw chwi yn gwneythy cam aei gylyd? Eithyr yr hwn oedd yn gwneythy cam aei gymydawc, y cilgwthiawdd ef, gan ddywedyt, Pwy ath wnaeth di yn *dwysawc ac yn varnwr arnam *ni?* A laddy di vi*nef* y modd y lleddeist yr Aiphtiwr ddoe? Yno y ffoes Moysen ar y gair hwnw, ac y bu yn ‡wr dyvodiat yn-tir Madian, lle ‡cenedlodd ef ddau o veib*ion*. A' gwedy *cyflawny dauugain blynedd, ydd ymddangoses yddaw yn-dyffeith*vvch* mynydd Sina, Angel yr Arglwydd mewn flamm dan, mewn perth. A' phan weles Moysen, y rhyuedd-

* lluniaeth, cynhaliaeth
‡ llavur
‡ a ddugwyt
* ddwyn
‡ veddrod
* ac
* cenedl
‡ vu ddrwc wrth
* cadarn, gallvawc
‡ daeth
* daraw, ffustaw
‡ heddychy, cyssilio
* llywodraethwr
‡ estran, dieithr
‡ ganet iddo
* gorphen

* ystiriaw awdd gan y golwc: ac ef yn *dy*nessaw y *synnyaw, yd
aeth llef yr Arglwydd ataw *gan ddvvedyt*, Mi yw Dew
dy dadae, Dew Abraham, a' Dew Isaac, a' Dew Iaco.
‡ sely, edrych, arno Yno ydd echrenawdd Moysen, ac ny veiddiawdd *syn-
niaw. Yno y dyvot yr Arglwydd wrthaw, Diosc dy
escidiae y dd'am dy dract: can ys y lle yn yr hwn sefy,
* cyssegrdir ys y *tir sanct*avvl*. Gwelais, gwelais ddrug*vyd* ve-popul,
ys ydd yn yr Aipht, ac a glyweis ei griddfan, ac a ddes-
‡ yn awr dabre cennais yw ymwared *hvvy:* ac yr owon dyre*d*, a' *mi*
ath *dd*anvonaf ir Aipht. Y Moysen hwn, yr vn a
wrthddodesont *vvy*, gan ddywedyt, Pwy ath roes di yn
dywysoc ac yn varnwr? hwn *yma* a *dd*anvones Dew yn
dywysawc, ac yn ymwaredwr trwy law Angel, yr hwn
a ymddangosawdd iddaw yn y berth. Ef e y duc wy
allan, gan wneythy ryveddodae, a' miracle yn-tir yr
Aipht, ac yn y mor coch, ac yn y dyffeith*vvch*, dros
‡ blynedd dauugain *blyddet. ‡Llyma yr Moysen, yr hwn a
* Hwn yw'r ddyvot wrth plant Israel, Prophwyt a gyvyt yr Ar-
* yngynhebic imi glwydd eich Dew y chwy, *ys ef* o'ch broder, *vn* *mal
mi*vi:* hwnw a wrandewch. Hwn yw ef a vu yn y
Gynnulleidfa, yn y diffeith*vvch* y gyd a'r Angel,
‡ lavarodd. yr hwn a ‡ymddiddanodd wrthaw ym-monydd Sina,
ac wrth ein taddae, yr hwn a dderbyniawdd y
gairic byw*iol* i roddi y *ny*ni: i ba vn ny vynnai
ein tadae vfyddhay, anid *ym*wrthddot, ac yn ei calonae
ymchwelyt drachefn ir Aipht, gan ddywedyt wrth
* a elon or blaen Aaron, Gwna i ni Ddewiae a *a'n racvlaenant: can
na wyddam beth ddarvu ir Moysen yma yr hwn an
duc o dir yr Aipht. A' lloa wnaethant yn y dyddiae
‡ eidol hyny, ac a offrymesont aberth ir ‡ddelw a' llawenhay a
wnaethant yn-gweithredoedd ei dwylaw *y hunain*. Yno
ydd ymchwelawdd Dew *ymaith*, ac y rhoes hwy i
vyny*dd* y n yd addolent i lu yr nef: megis y mae yn
escriuenedic yn llyfer y Prophwyti. *A* Tuy *yr* Israel,
a offrymesoch ymy anifeilieit wedy ei lladd ac aberthae
*dros*, ddauugain blynedd yn y dyffeith? A' *chvvi*
* pepyll lluesty gymer*e*soch *y chvvy* *tabernacl Moloch, a' seren eich
Dew Rempham, *ys ef*, lluniac, 'rei a wnaethoch y
addoly yddwynt: am hyny ydd eich ysmutaf y tu
‡ draw i Fabilon ‡hwnt i'r Babilon. I ein tadae ydd oedd tabernacl y
testoliaeth yn y diffaith*vvch*, mal ydd ordinesei ef, yn
llavaru wrth Moysen, ar vod iddaw ei wneithyd yn ol y
ffurf a welsei. Ys yr hwn *tabernacl* a gymerth ein
* Iesue tadae ac ei ducesont y mewn y gyd ac *Iesu i berchen-

ogaeth y Cenetloedd, yr ei a *dd*yrrawdd Dew ymaith
rac wynep ein tadae, y*d* dyddiae Dauid: yr hwn a
gavas ‡gariat geyr bron Dew, ac a archawdd gahel o ‡ hoffter, ffafr
honaw *dabernacl i Ddew Iaco. Eithyr Selef a adail- * bebyll
*ad*awdd d*u*y yddaw. Cyd na bo y Goruthaf yn trigiaw
mewn Templ o waith dwylaw, megis y dywait y
Prophwyt, Y nef *yvv* vy eisteddle, a'r ddaear *yvv*
‡lleithic vy-traet: pa d*u*y a adeil*iad*wch i mi medd yr ‡ mainc ystol
Arglwydd? A'i pa *ryvv* le vyddei vy-gorffwyffa? Anid
vy llaw i a wnaeth hynn *yma y gyd* oll? *chvvi* ‡warhydr ‡ wargalet
ac o galon a' chlustiae * ddianwaediat, chwi yn oystat a * *in circumcisi*
‡wrthladdesoch yr Yspryt glan: mal *y gvvnai* eich ‡ wrthwyneb-
tadae, velly *y gvvnevvch* chwi*theu*. Pwy n o'r Pro- esoch, om-
phwyti nid ymlidient eich tadae chwi? ac eu lladdasant, meddesoch
yr ei oedd yn ragvenegy o ddyvodiat y Cyfiawn hwnw,
i ba vn *y buo-chwi yr awrhon yn vradwyr ac yn * ydd ych
‡llawryddion, yr ei a*dd*erbyniesoch y Ddeddyf trwy ‡ lladdwyr
*ordinat Angelon, ac *yr* ny's cadwesoch. Eithyr pan * arlwy,
glywsant y pethae hynn, y ‡rhwygawdd ei calonae- darparat
*gan-ddicter*, ac escyrnegesont ddanedd arnaw. Ac efe ‡ ddrylliodd
yn gyflawn or Yspryt glan, a *edrychodd-yn ddyval *Yr Epistol ar ddiegwyl*
ir nef, ac a welawdd 'ogogiant Dew, ac Iesu yn sefyll *Stephan.*
ar ddehaulaw Dew. Ac ef a ddywedawdd, Nachaf y * selodd
gwelaf y nefoedd ‡yn agored, a' Map y dyn yn sefyll ‡ wedi agori
ar ddehaulaw Dew. Yno y *gwaeddesont *vvytheu* a * bloediesont
llef vawr, ac y caeesont ei clustiae, ac y rhuthresont
iddaw ‡o vnvryd. Ac y bwriesont ef allan o'r dinas, ‡ y gyd ar
ac ei llapyddiesent. A'r testion a ddodesont ei dillat vnwaith
wrth draet y *gvvas*-ieuanc, y elwit Saul. Ac *vvy* a
lapyddiesont Stephan, ac ef yn galw ar Ddew, ac yn
dywedyt, *Yr* Arglwydd Iesu, *d*erbyn vy yspryt. Ac ef
a ‡estyngawdd ar ei liniae, ac a lefawdd a llef vchel, ‡ benlinodd
Arglwydd, na ddod y pechat hyn yn 'ei herbyn *hvvy*.
Ac gwedy yddaw ddywedyt hyn, yr hunawdd *ef*.

## Pen. viij.

Dwyn 'alar Stephan a' ei gladdy. Cynddaredd yr Iuddeon a' Saul yn y herbyn hwy. Y ffyddlonieit wedy ei goyscaru, ac yn precethu yma a' thraw. Twyllo Samareia gan Simon *riniwr, eithyr hei ymchwelyt ir iawn gan Philip, a' ei chadarnhay gan yr Ebestyl. Cupyddtot a'ffuc santeiddrwydd Simon. Ac ymchweliat yr Eunuch ir ffydd. * *ddewin*

AC Saul a gytsynniesei *am* y varwolaeth ef. A'r
*dyddgwaith hwnw, y bu ymlit dirvawr ‡ar yn * amser
Eccles, yr hon *yt*oedd yn-Caerusalem, ac ydd oeddent ‡ yn erbyn

*yvv* oll wedy ei goyscary rhyd gwledydd Iudaia a' Samareia, dyeithyr yr Apostolon. Yno *ryvv* wyr dwywol, a *ddugesont Stephan ganthynt, *yvv gladdu*, ac a wnaethant ‡gwynvan mawr *uch ei benn. A' Saul *yntef* oedd yn anreithiaw yr Eccles, gan vyned y mewn y bop t*u*y, a' thynny allan 'wyr a' gwragedd, a ei dody yn-carchar. Ac wyntwy yr ei 'oyscaresit *ar lled*, a dramwyesont gan praegethy y gair.

* gynhebrengesant, ‡ alar, * am dano, drostaw.

Yno yd aeth Philip i ddinas o Samareia, ac a precethawdd Christ yddwynt. A'r popul a ddaliodd ar yr hyn a ddywedei Philip, o vnvryd, yn gwrandaw ac yn gweled y gwyrthiae 'r ei wnaethei ef. Can ys ysprytion aflan gan lefain a llef vchel, a ddaeth allan o laweredd a berchenogit *ganthvvynt:* a'llaweredd yn gleifon o'r parlys, ac yn gloffion, a iachawyt. Ac ydd oedd *gorvoledd mawr yn y dinas hono. Ac ydd oedd o'r blaen yn y dinas ‡neb gwr aei enw Simon, yr hwn *yt*oedd swynwr, ac a *ampwyllesei bopul Samareia, gan ddywedyt, e vot ehun yn *ryvv vvr* mawr. Wrth ba vn ydd ydd oeddent wy yn *d*ysgwyl o'r lleiaf y*d* y mwyaf, gan ddywedyt, Y *gvvr* hwn yw 'r mawr allu Dew, Ac wyntwy *oedd yn *d*ysgwyl wrthaw, erwydd iddaw yn hir o amser y ehudaw hwy a ‡swynion. Eithyr yn gyflym ac y credesont *i* Philip, y *yt*oedd yn precethy y pethe *y berthynent* *i deyrnas Dew, ac yn Enw Iesu Christ, ei batyddit ‡y gwyr, a'r gwragedd. Yno Simon *ynt*ef hefyt a gredawdd ac a vatyddiwyt, ac a ‡*ddy*lynawdd Philip, ac a chwithawdd arno, pan welawdd yr arwyddion ar gwyrthiae mawrion r' ei wnaethoeddit. A' phan glybu yr Apostolon oedd yn-Caerusalem, *dd*erbyn o Samareia 'air Dew, *ys* anvonesont attwynt Petr ac Ioan: yr ei wedy ei dyvot i waered, y weddiesont drostwynt, ar *dd*erbyn o hauwynt, yr Yspryt glan: (Can na ddaethei ef eto ar yr vn o hanwynt, amyn ei batyddiaw a wnaethit yn vnic yn Enw yr Arglwydd Iesu. Yno y gesodesont *ei* dwylaw arn*addvv*ynt, ac wy *a dd*erbyniesont yr Yspryt glan. Ac pan welawdd Simon, *mae trwy 'osot dwylaw yr Apostolon y dodit yr Yspryt glan, e gynygawdd yddwynt ariant, gan ddywedyt, Rowch i mi*nef* hefyt y meddiant hwn, yd pan yw ar bwy bynac y gesodwyf *v*y dwylo, bod iddo *dd*erbyn yr Yspryt glan. Yno y dyvot Petr wrthaw, Coller dy ariant y gyd a thi, can ys tybieist y ‡perir *dawn Dew ac ariant. Nid oes yty ran na chymdeithas yn y ‡devnydd hwn:

* llawenydd
* ryw
‡ ehudesei
‡ dal selw
* rrinieu
* at, ar
‡ arosodd gyd a

*Yr Epistol ddie Marth y Sul gwyn.*

* taw
‡ ceffir
* Rodd
‡ neges

can nad yw dy galon yn vnion geyr bron Dew. Edivar*h*a gan hyny *o bleit dy ddrugioni hyn, ac gweddia Ddew, ‡a's agatvydd, bod maddae meddwl dy galon. Can ys gwelaf dy vot ym-bystyl chwerwder, ac yn rhwymedigaeth enwiredd. Yno ydd atebawdd Simon ac y dyvot, Gweddiw-chwi drosof ar yr Arglwydd, na bo i ddim o hyn a ddywed*e*soch, ‡ddyvot arnaf.

* am, rac
‡ odid, possibil
‡ ddesocn

Ac *velly* wynt *vvy* gwedy yddwynt testio a' *lavaru gair yr Arglwydd, a ymchwelesont y Caerusalem, ac a precethesont-yr-Euangel yn llawer o ddinasoedd y Samareieit. Yno Angel yr Arglwydd a lavarodd wrth Philip, gan ddywedyt, Cyvot, a' cherdd tu a'r Dehau ir ffordd 'sy yn mynet y waeret o Gaerusalem i *ddinas* Gaza, yr hon 'sy yn *ddyffaith. Ac ef a gyvodes ac aeth rac ddaw: ac wele ryw Eunuch o Ethiopia *sef* Raglaw Candace Brenhines *yr* Ethiopiait, yr hwn oedd yn llywodraethy y oll drysor hei, ac oedd yn dyvot i Gaerusalem y addoly. Ac val ydd oedd ef yn adymchwelyt ac yn eistedd yn y ‡gerbyt, y darlle*n*ai ef Esaias y Prophwyt. Yno y dyvot yr Yspryt wrth Philip, Cerdda-yn-nes ac ymwasc a'r cerbyt acw. Ac Philip a redawdd *attaw, ac ei clywodd yn darllen y Prophet Esaias, ac a ddyvot. A ddeelly *di* yr hynn ydd wyt yn ei ddarllen? Ac ef a ddyvot, Py wedd y metraf, o ddiethyr bot ryw vn ‡im arwein ir ffordd? Ac ef deisyvawdd ar Philip *escen y vyny*dd*, ac eistedd gyd ac ef. A'r lle, or Scrythur ydd oedd ef yn ei ddarllen *yt*oedd hwn, Ef a *arwenit mal davat ir lladdfa: ac mal oen ‡mut ger-bron ei gneifiwr, velly nid agorai ef ei enae. Yn ei 'oystyngeiddrwydd *yd*archafwyt ei varne*digeth:* a' phwy a *venaic ei ‡'enedigaeth? can ys dugir ei vuchedd oyar y ddaear. Yno ydd atebawdd yr Eunuch wrth Philip, ac y dyvot, atolwg yty, am pwy y dywait y Prophet hynn? am dano ehun, ai am vn arall? Yno ydd agores Philip ei enae, ac a ddechreawdd ar yr Scri*p*thur hwnw, ac a a precethawdd iddo'r Iesu. Ac mal ydd oeddent yn *cyd ymddeith ffordd, y daethant at ryw ddw*f*r a'r Eunuch a ddyvot, Wele, *llyma* ddw*f*yr: pa beth a ‡lestair na'm badyddijr? Ac Philip a ddyvot wrthaw, A's credy oth oll calon, ef ellir. Ac ef atebawdd ac a ddyvot. *Credaf vot Iesu Christ yn vap Dew, Yno y gorchymynodd ef bot sefyll o'r cerbyt: ac *vvy* ddescenesont ill dau ir dw*f*r, a' Philip a'r Eunuch, ac ef ei batiddiawdd. Ac yn

* phrecethu
* ddisathr eb gyvannedd
‡ siarret
* yno
‡ yn fforddiwr ymy
* ddringo
‡ yn vut
* ddatcan, ddosparth
‡ genedlaeth
* cydgerddet
‡ rwystr
* ydd wyf yn credy

‡ y cipiodd — gytrym ac yr escenesont i vyny*dd* o'r dw*f*r, ‡ydd aeth Yspryt yr Arglwydd a Philip *canthavv*, a'r Eunuch
‡ rragddyw — ny's gweles ef mwy*ach:* ac velly ydd aeth ef ‡y ffordd gan lawenhay. Ac Philip a ga*ff*at yn *dinas* Azotus, ac ef a dramwyawdd gan precethy-yr-Euangel yn yr oll ddinasoedd, yd y ny ddaeth ef i Cesarcia.

## Pen ix.

Ymchoeliait Saul ir ffydd. Ei alwedigaeth ir Apostoliaeth. Maint ei wynfyt y ddylyn ei swydd. Pa wedd y diangodd rac brade yr Iuddeon. Ei vynediat at yr Apostolion. Llwyddiaint yr Eccles. Petr yn iachay Eneas, Yn cyvody Tabitha. Yn troi llaweroedd at Christ. Ac yn lletuya yn-tuy barker:

* ffroeni — AC Saul eto yn *chwythy bygythiae a' lladd*fa* yn erbyn discipulon yr Arglwydd, aeth at yr Arch-offeiriat, ac archodd lythyrac ganthaw ir Damasco at y Synagogae, a chaffaei ef neb rei oedd or ffordd ‡hon*no* (ai yn wyr ai yn wragedd) vod iddo y dwyn hwy yn
* siwrneio — rhwym i Gaerusalem. Ac mal ydd oedd ef yn *ymddaith, e ddarvu val y *dy*nesaawdd ef ar Ddamasco, yn ddisyvyt y llewychawdd oci amgylch 'olauni or nef,
‡ ir llawr — Ac ef a gwympodd ‡ar y ddaiar, ac a glywodd lef, yn dywedyt wrthaw, Saul, Saul, paam im erlydi? Ac ef a ddyvot, Pwy *yt*wyt Arglwydd? A'r Arglwydd a
* anhawdd — ddyvot, Mi yw Iesu yr hwn a erlydi di: *calet yw yty wingo yn erbyn y swmbyl*æ*. *Efe yno* ac yn echrynedic
* mewn irdang — ac *yn synn, a ddyvot, Arglwydd, Pa *beth* a vynny i imi ei wneythyd? A'r Arglwydd *a ddyuot* wrthaw,
‡ Cwyn — ‡Cyvot a does ir dinas, ac e ddywedir yty pa beth vydd
* raid — *dir yty ei wneythy*d*. A'r gwyr oedd yn cydymddeith *ffordd* ac ef, a safasant wedy sanny, gan glywet y llef,
‡ vndyn — ac eb yddwynt welet ‡nebun. Ac Saul a gyvodes o yar y ddaiar, ac a gores ei lygaid, *ac* ny welawdd ef
* twysesont ef erbyn — vndyn. Yno yr *arwenesant ef erwydd ei law, ac ei
‡ ei olwc — duc*e*sont y Damasco. Ac *yno* y bu dri-die eb ‡welet,
* rryw — ac eb bwyta nac yfet. Ac ydd oedd *nep discipul yn Damasco 'r y elwit Ananias, ac wrthaw y dyvot yr Arglwydd drwy weledigaeth, Ananias, ac ef a ddyvot, Wele, *d'yma* vi Arglwydd. Yno y *dyuot* yr Arglwydd
* Cwyn cychwyn — wrthaw, *Cyvot, a' cherdda ir heol y elwir Vnion, a' chais yn-t*uy* Iudas vn aei enw Saul o *ddinas* Tarsus: can ys wele y mae ef yn gweddiaw. (Ac ef a welai drwy weledigaeth 'wr a enwit Ananias yn dyvot y mewn attaw, ac yn dody ei ddwylaw arnaw, y gahel o

honaw ei 'olwc. Yno ydd atebawdd Ananias, Arglwydd, *ys* clywais gan lawer am y gwr hwnw, vaint y *drwc a wnaeth ef ith sainct yn Caerusalem. Ac *cyd a hyny* y mae ganthaw yma awturtat gan yr Archoffeiriait, y rwymo pawp y 'alwo ar dy Enw. Yno y dyvot yr Arglwydd wrthaw. Dos ymaith, can ys mae ef yn llestr etholedic y mi, y ddwyn vy Enw rac bron y Cenetloedd, a' Brenhinedd a' phlant yr Israel. Can ys mi a ddangosaf iddaw, pa veint bethae ‡vydd dir iddaw ei goddef ermwyn vy Enw. Yno Ananias aeth ymaith, ac aeth y mewn ir tuy, ac a osodes ei ddwylo arnaw, ac a ddyvot, Brawd Saul, yr Arglwydd am danvonawdd (*ys ef* Iesu yr hwn a ymddangoses yty ar y ffordd wrth ddyvot) *y *dd*erbyn o hanot dy 'olwc, ac ith gyflawner or Yspryt glan. Ac yn y man y syrthiawdd y wrth ei lygait me*g*is ‡gan ac yn ebrwydd y *d*erbyniawdd ei 'olwc, ac y c*yv*ododd ac y batyddiwyt, ac y cymerawdd vwyt, ac y cryfhaodd. Velly y bu Saul dalm o ddiddyae gyd a'r discipulon oedd yn Damasco. Ac yn ‡ddiannot y precethawdd ef Christ yn y Synagogae, *mae ef ytoedd map Dew: a' chwithaw a wnaeth ar pawp ei clybu, a' dywedyt, Anid hwn yw ef, y oedd yn destryw yr ei 'alwent ar yr Enw hwn yn-Gaerusalem, ac a ddaeth yma er mwyn hyn *ys ef* ei y dwyn hwy yn rhwym at yr Archoffeiriait. Eithyr Saul a gynnyddodd vwy-vwy o nerth, ac a wradwyddawdd yr Iuddaeon oedd yn preswiliaw yn Damasco, gan gadaruhay may hwn *yt*oedd y Christ. Ac yn ol cyflawny llawer o ddyddiae, y cyd ymgyggorawdd yr Iuddaeon, er ei ladd ef. Eithyr y *cynllwyn hwy a wybu Saul: ac *vvy* a ddysgwiliesont y pyrth ddydd a' nos, y*vv* ladd ef. Yno yr discipulon y cymersont ef o hyd nos, ac ei *d*anvonesont trwy *r'* ‡mur, ac ei gellyngesont y lawr mewn cawell. A' gwedy dyvot Saul i Gaerusalem, y *profawdd e ymwascy a'r discipulon: ac ydd oeddent oll yn y ofny ef, gan ‡ancredy y vot ef yn ddiscipul. Ac Barnabas y cymerawdd ef, ac ei duc at yr Apostolon, ac vanagawdd yddwynt *pa vodd y gwelsai ef yr Arglwydd ar y ffordd, a' bod iddo lavaru wrthaw, ac mor hyderus y llavaresei ef yn Damasco yn Enw yr Iesu. Ac ydd oedd ef yn *cyd tramwy ac wynt yn-Caerusalem, ac a lavarodd yn eon yn Enw yr Arglwydd Iesu, ac ef a gympwyllawdd ac a ‡ymddadleawdd a'r *Groecieit: ac wy*ntvvy* a geisiesont y ladd ef. A'

* drygae
‡ orvydd
* val. &c.
‡ oen
‡ ebohir, eb oludd, yn ddysyfyt, yn ehegr
* taw
* brad
‡ vagwyr
* darparodd
‡ vot eb gredy
* p'odd
* myned y mewn ac allan
‡ ymresynodd
* Groecwyr

phan wybu y broder, *vvy* y ducesont ef i Cesareia, ac ei *d*anvonesont ymaith y Tarsus. Yno ydd oedd yr Ecclesi*dd* yn cael heddwch trwy 'r oll Iudaia, a' Galilaia, a' Samareia, ac ei hadailiadwyt, gan yddwynt ‡rodiaw yn ofn yr Arglwydd, ac ei lliosocwyt trwy ddiddanwch yr Yspryt glan. Ac e ddarvu, val ydd oedd Petr yn gorymddaith trwy 'r oll *vvledydd*, e ddaeth hefeit at y sainct oedd yn trigiaw yn Lydda. Ac yno y cauas *neb dyn a enwit Aaineas, y vesei yn gorwedd yn ei wely wyth blynedd, ac oedd yn glaf o'r parlys. Ac Petr a ddyvot wrthaw, Aineas, *yr* Iesu Christ 'sy ith iachau: cyvot a' gwna dy wely. Ac ef a gyvodes yn ebrwydd. *Ac oll oedd yn preswyliaw yn Lydda ac Saron, y gwelsant ef, ac ymchwelesont ‡ar yr Arglwydd: Ac ydd oedd hefyt yn Ioppa ryw discipules aei henw Tabitha (yr hon wrth hi deongl * y ddywedir Dorcas) hon oedd yn gyflawn o weithredoedd da, ac o eleesenae 'r ei wnelei hi. Ac e ddarvu y dyddiae hyny, bod iddi glefychy a' marw: a' gwedy yddwynt hei golchi, *vvy* dodesont hi mewn goruchystavell. Ac erwydd bot Lydda yn *gyf*agos ‡i Ioppa, a' chlywed o'r discipulon vot Petr yno, wy ddanvonesont atto ddau wr, gan ddeisyf na*d* oedei ddyuot atynt. Yno y cyvodes Petr ac yd aeth y gyd ac wynt: ac wedy ei ddyvot, wy ei dygesont ir *oruch* ystavell, lle ydd oedd yr oll wragedd-gweddwon yn sefyll *oei amgylch yn wylaw, ac yn dangos y peisiae a'r gwiscoedd, a wnaethai Dorcas, tra *yt*oedd *hi* y gyd ac wynt. Yno Petr y rhoes hwy oll y maes, ac ‡estyngawdd ar ei liniae, ac a weddiawdd, ac a ymchwelawadd at y corph, ac a ddyvot, Tabitha, cyvot. Ac yhi a agores ei llygait, ac wedi y gwelas hi Petr, ydd eisteddawdd. Yno y rrodes ef y llaw iddhei, ac hei *cyvodes i vyny*dd:* ac ef a elwis y sainct a'r gwragedd-gweddwon, ac ef y adverodd hi yn vyw. Ac e a wybuwyt dros oll Ioppa, a' llawer a gredesont yn yr Arglwydd. Ac e ddarvu, yd pan oedd yddaw drigaw lawer o ddyddiae yn Ioppa, gyd ac vn Simon ‡barker.

‡ ymarwain
* amylhawyt
‡ ryw wr
* A'phawp
‡ at
* elwir, ytyw
‡ at
* yn ei emyl
‡ a benlinoedd
* derchavodd
‡ tanner.

## Pen. x.

**Rybuddio Cornelius gan yr Angel. Yd anuon y mae ef i Ioppa Gweledigaeth Petr. Py wedd ydd anvonwyd ef at Cornelius. Y Cenetloedd hefyt yn d'erbyn yr Yspryt, a' ei batyddio.**

AC ydd oedd *nep gwr yn Caisareia a ei enw Cornelius capten y ‡ddiadell y elwit *diatell* yr Ital, *gvvr* devosionol ac *vn* yn ofny Dew, y gyd ei oll tuy*lvvyth*, ac yn rhoi llawer o eleeseni ir *popul ac yn gweddiaw *ar* Ddew yn 'oystat. Ef a welawdd drwy weledigaeth yn eglur (‡yn cylch y nawvet awr o'r dydd) Angel Dew yn dyvot ato, ac yn dywedyt wrthaw, Cornelius, A' phan edrychawdd arnaw, ofny a wnaeth, a' dywedyt, Pa beth *yt*yw, Arglwydd? Ac ef a ddyvot wrthaw, Dy weddiae ath eleesenae a escenesont *yn-cof geyr bron Dew. Ac yn awrhon anfon wyr i Ioppa, a' galw am Simon a elwir Petr. Hwn ys ydd yn lletya gyd ac vn Simon barker, yr hwn 'sy ei dy ‡wrth y mor: ef a ddywait yty pa beth y ddlei y wneythy*d*. Ac wedy ymady or Angel a ymddiddanawdd a' C*h*ornelius, ef a alwodd *ar* ddau oei weison, a' *milwr ‡creddyfol, vn or ei oedd yn *dylyn wrthaw, ac a vanagawdd yddwynt pop peth, ac y *d*anvonodd hwy i Ioppa. A' thranoeth mal ydd oeddent yn mynet y ymddaith, ac yn *dy*nessay ir dinas, ydd escennawdd Petr ar ‡vcha y tuy y weddiaw, amgylch y *chwechet awr. Ac y ddaeth newyn arnaw, ac ewyllysiawdd gahel bwyt: ac wynt y paratoy *ryvv beth yddavv, e* ddygwyddawdd ‡llewyc arno. Ac ef a welas y nef yn agoret, a' rryw lestr yn descen ataw, mal llen-lliain vawr, wedy rhwymo *erwydd y pedair congyl, ac a ellyngwyt yd y waered yd y ddaiar, yn yr hon ydd oedd pop ryw anifal pedwar ‡carnol y ddaear, a' bestviloedd, ac ymluscieit, ac ehediait y nef. Ac e ddaeth llef ataw, Cyvot Petr: lladd, *a' bwyta. A' P*h*etr a ddyvot, Nage, Arglwydd: can na vwyteis erioed ddim ‡cyffredin *n*ai aflan. A'r llef a *ddyvot* wrthaw yr ailwaith, Y pethae a *garthodd Dew, na ‡chyffredina di. A hyn a wnaethpwyt teirgwaith: a'r llestr a gymerwyt drachefn i vyny*dd* ir nef.

Ac pan *yt*oedd Petr yn ‡petrusaw ynthaw ehun pa beth *yt*oedd y weledigaeth hon y welsai, wele, y gwyr y *dd*anvonesit y gan Cornelius, a ymovynesent am d*u*y Simon, ac a safent wrth y porth, ac a 'alwasont, ac 'ovynesont, a *yt*oedd Simon a gyfenwyt *yn* Petr, yn lletuya ynaw. Ac mal ydd oedd Petr yn meddwl am y weledigaeth, y dyvot yr Yspryt wrthaw, Wele, tri-*g*wyr yn dy geisiaw: cyvot *can hyny, a' descen, a' dos gyd a hwy, ac na ‡amhae, can ys mi*v*i y danvoneis hwy.

* rryw
‡ gywdawt, vyddin
* plwyf
‡ amgylch
* mewn
‡ yng-lan
* sawdiwr
‡ devosionol dwywol, ai 'oglyt ar Ddew
* waytio arnaw
‡ benn
* ys am haner dydd
‡ dieithrwch meddwl
* erbyn
‡ troedioc
* ac ys,
‡ halog
* lanhodd, purhaodd
‡ haloga
* dowto, amhay, synniaw
* tithae
‡ dowta

Yno Petr a ddescennawdd at y gwyr, ydd anvonesit ataw ywrth Cornelius, ac a ddyvot, Wele, *mivi* yw 'r *hvvn* ydd ych yn ei geisiaw: pa *beth* yw 'r achaws o ei bleit y daethoch yma? A'hwy a ddywedent, Cornelius y captaen-cannwr, gwr cyfiawn, ac *vn* yn ofny Dew, ac a gair da iddaw gan oll genedl yr Iuddaeon, a rybyddiwyt *or nef* y gan Angel sanct, y *dd*anvon am danat, y ei d*uy*, ac y wrandaw *ar* dy 'airiae. Yno y galwodd ef wynt y mewn, ac ei lletyawdd: A' thranoeth, ydd aeth Petr allan y gyd ac wynt, a'r ei o'r broder o Ioppa aeth y gyd a hwy.

A' *thranoeth, ydd aethant y mewn y Cesareia. Ac Cornelius a arosawdd arnwynt, ac y galwesei ei ‡gyd-genedloedd, a' ei annwyl gereint. Ac e ddarvu, val ydd oedd Petr yn dyvot y mewn, bot i Cornelius *gyfarvot ac ef, a' dygwyddaw wrth y draet ef a' ei addoli. Ac Petr y cyvodes ef, gan ddywedyt, Cyvot y *vynydd:* ‡a' mi*n*ef wyf dyn. Ac wrth ymddiddan ac ef, y daeth y mewn, ac a gavas lawer wedy dyvot yn-cyt, ac ef a ddyvot wrthwynt, *Chvvy*chwi wyddoch nad yw gyfreithlawn i wr o Iuddew ymwascy n'ai ddyvot at *alltut: eithyr Dew a ddangosawdd i mi, yd na 'alwn ‡vn dyn yn *gyffredin, ai yn aflan: am hynny yd aethym atoch yn ddinag, pan *dd*anvonwyt am danaf. Erwydd pa bleit y ymofynaf, o ran pa achos y*d* anvonesoch am danaf? Yno y dyvot Cornelius, Er *es* pedwar diernot a ‡*ddeddyvv* *amgylch yr awr hon, ydd oeddwn yn vmprydiaw, ac ar y nawvet awr y gweddiais, yn vy-t*uy*, ac wele, y savodd *gwr geir vy-bron yn-gwisc *dd*ysclaer, ac y dyvot, Cornelius, e glypwyt dy weddi, ath eleesenae ynt yn-coffa ger bron Dew. Yd anvon ‡am hyny *rei el* i Ioppa, a' galw am Simon, ys ydd ei gyfenw yn Petr (efe 'sy yn lletya yn-t*uy* Simon y ‡barker yn-glann y mor) yr hwn pan ddel, a ymadrodd wrthyt. Yno yd anvoneis i yn ebrwydd am danat, a' thi wnaethost yn dda ar ddyvot. Yn awr gan hynny ydd ym ni *yma* oll yn *gydrychiol ger bron Dew, er *mvvyn* gwrandaw pop peth y 'orchymynwyt yty gan Ddew. Yno ydd agores Petr *ei* enae, ac y dyvot, Yn wir ydd wyf yn dyall, nad *yt*yw Dew yn yn ‡*d*erbyn cyflwr *neb.*

Eithyr ym-pop cened*laeth* y neb y *h*ofno ef, ac a wnel *iawnder, ys ydd gymradwy gantho. *Chvvy vvyddoch* y ‡gair yr hwn a ddanvones Dew i plant *yr* Israel, gan precethy *tangneddyf trwy Iesu Christ, yr hwn

* thradwy
‡ draseu
* gyhwrdd
‡ can ys
* vn o genedl arall
‡ neb
* halog
‡ aeth heibio
* hyd
* vn
‡ dithef
* tanner
‡ presennol
*Yr Epistol ar ddie Llun Pasc, a' ddie llun y Sul gvvyn.*
‡ edrych, braint, ansodd, ystat: vegis ai Sais ai Cymbro. &c. cyvoethoc ai tlawd. &c.
* vniondep
‡ pregaeth
* heddwch

ys id Arglwydd *pavvp* oll. *Ys ef* y gair y ‡ddaeth ‡ danwyt
trwy'r oll Indaia, gan ddechrac yn-Galilaia wedy y
batydd a precethei Ioan, *nid amyen no* darvot i Ddew *py vvedd
‡enneiniaw Iesu o Nazaret ‡a'r Yspryt glan, ac a ‡ iraw
nerth: yr hwn gerddawdd o yamgylch gan wneythy- * trwy
*gvveithredoedd*-da, ac iachay pawp rei oedd yn 'oar-
sengedic y gan ‡ddiavol: can ys Dew oedd y gyd ac ‡ y cythrael
ef. Ac ydd ym ni yn testion o'r oll pethac a wnaeth * gwlad
ef yn-tir yr Iuddaeon, ac yn-Caerusalem: yr hwn a
laddesont *vvy*, ac a grocesont ar bren. Hwn a gyvodes
Dew *y vyny* y trydydd dydd, ac a barawdd bot ei
ddangos ef yn amlwc: nid ir oll popul, amyn ir testion
etholedic or blaen gan Ddew, *ys ef* y n*y*ni yr ei vuam
yn cydvwyta ac yn cydyvet ac ef, gwedy iddo gyvody
o veirw. Ac ef orchymynodd y ni precethy ir popul,
a' thestolaethy, mae ef yw hwnw a ‡ordeiniwyt gan ‡ osodwyt,
Ddew yn varnwr byw*ion* a' meirw. Ac y gyd hwnn arvaethwyt
y mae yr oll Prophwyti yn testiaw, mae trwy yr Enw
ef, y bydd i pwy bynac a creto ynthaw *ef*, *dd*'erbyn
maddeuant pechatae. Tra *yt*oedd Petr eto yn dywedyt
y geiriae hynn, y dygwyddawdd yr Yspryt glan ar yr
ei oll a glywsant y *gair. Ac wyntwy o'r ‡enwaediat * precaeth
a'r oeddent yn credy, a sannasant, cynniuer ac a ‡ *circucio*
ddaethent y gyd a P*h*etr, can ys darvot hefyt ar y
Cenetloedd *dincy dawn yr Yspryt glan. Can ys * tywallt
ẏddynt y clybot wy yn ‡ymadrodd a thavodae, ac yn Rodd
*mawrygy Dew. Yno ydd atebawdd Petr, A all neb ‡ llavaru, ymddiddan
'ohardd ddw*f*r, yd na vatyddier yr ei hynn, a *dd*erbyn- * mawrhau
iesont yr Yspryt glan yn gystal a ni*neu?* Ac velly
ef 'orchymynawdd y patyddio *h*wy yn Enw yr Ar-
glwydd: Yno y damunasant arno ‡aros *gyd a hvvy* ‡ dario, drigio
niver o ddyddiae.

## Pen xj.

**Petr ys yd yn dangos yr achos paam ydd aeth ef at y Cenetloedd. Y mae yr Eccles yn ei dderbyn yn gymradwy. Yr Eccles yn amlhay. Barnabas ac Paul yn praecethy yn Antiocheia. Agabus yn prophwyto bot drudaniaeth ar ddyvot. A'r ymwared.**

CLYBOT o'r Apostolon a'r broder y oeddent yn
Iudaia, ddarvot hefyt ir Cenedloedd *erbyniet * dderbyn
gair Dew. A' gwedy dyvot Petr y vyny*dd* i Gaer-
usalem, wyntwy o'r ‡enwaediat a gynnenynt yn y ‡ cylchdoriat
erbyn ef, gan ddywedyt, Ti aethost y mewn at wyr eb
ddarvot ei enwaedy, ac y vwytëist gyd ac wynt. Yno

‡ priodent gwrhaent, * ddiyscoc ‡ awdurdot llywodraeth, rheol * i wr

vynno, ny pecha: ‡ prioder hwy. And hwn a saiff yn *ffyrf yn ei galon, eb angenrait arnaw, ac ‡ a meddiant ganto ar ywyllys y hun, a'bwriadu hyn yn ei galon, gadw ei wyryf, da y gwna ef. Ac velly yr hwn ai rhydd *yw phriodi, a wna yn dda, anyd yr hwn ny's rydd yw phriodi, a wna yn well. Y mae'r wreic yn rhwym wrth y Ddeddyf, tra vo byw hei gwr: and a bydd ‡ marw ei gwr, y mae hi yn rhydd i briodi 'r neb a vynno, yn vnic yn yr Arglwydd. Er hyny *mwy gwynvydedic yw hi, a's erys hi velly, yn vy-barn i: ac ydd wyf yn tybieid vot *i ‡ mi hefyt Yspryt Duw.

‡ huna, ehwsc * dedwyddach ‡ genyf

## Pen. viij.

Y mae ef yn ceryddu yr ei 'sy yn arver ei rhydddit er rhwystro eraill, gan vyned ir lle ir aberthit ir *gau dduwieu, Ac yn dangos paddelw y dylyei ddynion ymddwyn tu ac at yr ei gweinion.

* eiddolon, delweu

AC am y petheu a ‡ aberthir ir geudduwieu: gwyddom vot genym *bawp wybodaeth, gwybodaeth a chwydda, anyd cariat a adaila. Ac a thybia nep y vot yn gwybot ‡ peth, ny wyr ef eto ddim val y *dyly wybot. Anyd a's car neb Dduw, e ‡ gafas hwn wybodaeth gantaw ef. Can hyny am vwyt-a aberthir ir eiddolon, gwyddom nad yw *eiddol ddim yn y byt, ac nad oes ‡ neb Duw arall, anyd vn: A' chyd bot 'rei a elwir yn ddeuwieu, ai yn y nef, ai yn y ddaiar, (megis y mae duwiae lawer, ac arglwyddi lawer) er hynny i ni nyd oes and vn Duw, ‡'sef y Tat, o ba vn y mae pop peth, a ninen *ynddo ef: ac vn Arglwydd Iesu Christ, gan yr hwn y mae ‡ yr oll petheu, a' ninen trwyddo yntef. Eithyr nyd oes gan bawp gyfryw wybodaeth: can ys rei a chanthynt gydwybot ir *eiddol, yd yr awrhon, a vwytaant val yn peth wedy' aberthu ir eiddol, ac velly eu cydwybot yn bot yn wan, a halogir. Eithyr ny wna bwyt ni yn gymeradwy gan Dduw: can ys a's bwytawn, nyd oes i ni vwy: nac any vwytawn, nyd oes i ni lai. Anyd ‡ gwelwch rac ich *meddiant hwnw vot yn achos tramgwydd ir ei 'sy weinion. Can ys a's gwyl nep di 'sy a gwybodaeth genyt yn eistedd i vwyta yn *teml yr eiddolon, anyd ‡ addyscir cydwybot yr hwn 'sy wan, i vwyta or petheu hyny a aberthwyt ir *eiddolon? A' ‡ chan dy wybodaeth di y cyfirgollir dy vrawt gwan, dros yr hwn y bu varw Christ. Ac a' chwi yn pechu velly yn erbyn y brodur ac yn *briwo ei

‡ offrymir ir delweu * oll ‡ dim * dirpir * ddysgwyt * delw ‡ vn ‡ yr hwn yw * drwyddo, ganto ‡ pop peth * ddelw ‡ gwiliwch, ymogelwch synnwch * awdurdot, rhydit * yr eiddolfa ‡ adailir * delwegau dduwieu ‡ thrwy * clwyfo, archolli

gwan gydwybot hwynt, ydd y-wch yn pechu yn erbyn
Christ. Erwydd paam a's ‡trancwydda bwyt vy-brawt, ‡ rhwystra
ny vwytawyf gic yn tragyvythawl, rac ym beri im
brawt *dramcwyddo. * ymrwystro

## Pen. ix.

**Mae yn ei hannoc wrth y esempl ef y arver oi ryddit y adeilad eraill. Bod yddyn redec yn yr vn rediat ac y dechreusont.**

ANYD wyf *yn* Apostol? any dwyf *vvr* rydd? any * breiniol
wlais i Iesu Christ ein Arglwydd? anyd vy-gwaith
i *yd*yw-chwi yn yr Arglwydd? Any dwyf *yn* Apostol
i erail', eto diau *yvv* vy-bot y chwi: can ys ydd yw-chwi
yn *in*sel *o'm Apostolieth yn yr Arglwydd. Vy ‡atep * vy
ir ei am holant i, yw hyn, Any*d* oes i ni veddiant y ‡ amddeffen
vwyta ac y yfet? Neu anyd oes i ni veddiant i *arwein * arwedd,
y amgylch *gwreic a vei* chwaer, ‡megis ac y mae'r tywys
Apostolion eraill, a' *megis* *broder yr Arglwydd, a' ‡ yn gystal
C*h*ephas? Ai my*vi* yn vnic a' Barnabas, anyd oes i ni * cereint
veddiant y weithiaw? Pwy a i ryfely vn amser ar ei
*'osymddaith i hun? Pwy a blann winllan, ac eb ‡ vyhunan
vwyta oi ffrwyth? neu pwy a *borth ‡dda, ac ny vwyty * gost
o laeth y da? A ddywedaf i hyn *erwydd dyn? Any ‡ basc
ddywait y Ddeddyf y petheu hyn hefyt? Can ys * gadw, bar ri deveit
scrivenedic yw yn-Deddyf Moysen, Na *phen*r*h*wyma ‡ val, yn ol
*eneu* yr ych a vo yn ‡dyludo'*r yd:* a *yd*y*w* Duw yn * safn
gofalu dros yr ychen? Ai *ynte* ddywet *ef hyn* yn ollawl ‡ dyrnu
er *ein* mwyn ni? Er *ein* mwyn ni yn *ddioer ydd * wir
scrivenwyt *hyn, bot* y hwn a ardd*o*, aredic dan 'obaith:
ac y hwn a ddyrno dan 'obeith, vod yn gyfranoc oi
'obaith. A's heuesam ni ychwi betheu sprytol, *ai*
mawr *yvv* a's ni a ved*vvn eich* petheu dayarol chwi?
A'*d* oes eraill yn eich plith yn cahel ran o'r ‡meddiant * awdurtot
*hvvn, paam* *yn gynt na*d* ym* ni? er hyny ny*d* arver- ‡ hytrach
esam *ni* o'r meddiant hwn: any*d*‡goddef ydd ym pop
dim, rrac y ni rwystro Euangel Christ. Any wyddoch
*vvi* am yr ei 'sy yn *gweithio' *ynghylch* ‡petheu sainct- * gwasanaethu
aidd, y bot wy yn bwyta o betheu 'r Dempl? a'r ei 'sy ‡ yn y deml
yn gwasanaethu'r allor, y bot wy yn gyfranoc gyd a'r
allor? Velly hefyt yr ordeiniawdd yr Arglwydd, *bot* ir
ei a precethant yr Euangel, vyw *wrth yr Euangel. * ar, or
Er hyny mi ny*d* *ym*arvereis o ddim o'r *petheu* hyn: ac
ny*d* scrivenais hynn yma, val y gwnelit velly i mi: can
ys gwell vyddei i mi varw, na gwacau o neb vy-gor-

‡voledd. O bleit a'*s* Euangelaf, nyd oes ym 'orvoledd: can ys angen 'sy im gyrru, a' gwae vyvi, any*d* *Euangelaf. Can ys a'*s* gwnaf hyn ‡yn ewyllysgar, y mae mi *daliat: and a's yn anwyllysgar *y gvvnaf*, e roddet arnaf y gorchwyl *yma eisius*. Pa dal*iad* vydd ymy gan hyny? *sef* pan Euangelwyf, bot ymy ‡beri Euangel Christ yn rhat val na chamarverwyf vy awdurdot yn yr Euangel. Can ys cyd bwyf yn yn rhydd ywrth bawp, eto mi am gwneuthym vyhun yn was i bawp, val yr enillwn vwy *o hanynt*. Ac ir Iuddeon ir ymwneuthum val Idddew, val yr enillwm yr Iuddeon: i'r ei *sydd* y dan y *Ddeddyf, val *pe bysvvn* y dan y Ddeddyf, val yr enillwn yr ei 'sy dan y Ddeddyf: i'r ei di-ddedd*yf*, val *vn* diddedd*yf* (a' min*ehu* eb vot yn ddiddeddf ‡tu ac at Dduw, any*d* yn y Ddeddyf gan Christ) val yr enillwm yr ei di-ddeddyf. Ir *gweinion yr ymwneuthym yn wan, val yr enillwn y gweinion: i bawp yr ymwneuthum yn bop ‡dimval ygallwn ym-pop modd gadw'rei. A' hyn wyf yn ei wneuthur er mwyn yr Euangel, val y bwyf yn gyfranoc o hanei *gyd a chvvi*. Any wyddoch, am yr ei a vo yn rhedec *mevvn* gyrfa, vot pawp yn rhedec, er hyny bot vn yn mynet a'r *gamp? velly rhedwc*h* ‡nes cael gavael. A' phop *d*vn a *ymdrecho-am-gamp, a ymgymedr*ola* rrac pop dim: ac wy *a vvnant hynn* er mwyn cael coron ‡ddarvodedic: a' nin*eu* er vn an*d*arvodetic. Am hyny ddwyf vi yn rhedec, ny*d* val yn anilys: velly ddwyf yn ymdrech, nyd mal vn yn *curo yr awyr. Eithr ydd wy *vi* yn ‡goarsengi vy-corph ac yn y ‡ddarestwng: rac mewn vn modd gwedy ym precethu i eraill, vy-bot ‡vy *hunan* yn *ancymeradwy.

‡ awen, llewenydd
* phrecethaf yr Euangel
‡ om bodd
* gyfloc 'obr
‡ wneuthur
* Gyfreith
‡ yn-'uw
* gweinieit
‡ peth
*Yr Epistol ar y Sul Septuagesima*
*Yr Epistol ar y Sul Septuagesima*
* gyngwystl
‡ yny chaffoch avel, meddiannu
* yrysco
‡ lygrudic
* ffysto
‡ darestwng corbwyo, gwaethiwo
‡ inheu
* amprovadwy, goec gwliedic

## Pen x.

Mae ef yn ei hofni wy ac esempl o'r Iuddeon, nad ymddiriedont yn gnawdol yn-doniae Duw, Gan ei hanoc y ymogelyd rac pop ryw ddelw-addoliat, A' rhac rhwystro ei cymydoc.

*Ys Epistol y ix. Sul gwedy Trintot.*

HEFYT, vroder, ny vynwn ywch anwybot, *pan yvv* bot ein oll tadeu *gynt* y dan *yr* wybren, a'u myned oll trwy'r mor, a'u batyddio *vvy* oll y *dan* Voysen, yn yr ‡wybren, ac yn y mor, ac a vwytesont *bawp yr vn bwyt ysprytawl, ac a yfesont bawp yr vn ddiot ysprytawl (can ys *vvy* yfesont or vn graic ysprytawl rhon oedd yn dyvot ar ol: a'r Graic oedd

‡ cwmwl
* oll
‡ 'sy

Christ) eithr y lawer o hanwynt ny*d* oedd Duw vod*d*lon: can ys bwrwyt wy y lawr yn y diffaith*vvch.* A'r ei hyny ‡ oeddynt esemplae y *ny*ni, val na byddei y nin*heu* * chwenychu *am* ddryc betheu, val ac y chwynechesont wy. Ac na vyddwch * eiddol-addolwyr, mal *y bu* rei o hanwynt wy, megis y mae yn scrivenedic, Eisteddawdd y popul y vwyta ac yvet, ac a gyvodesont i chwareu. Ac na wnawn 'odinep, mal y gwnaeth yr ei o hanynt wy 'odinep, ac a gwympiodd mewn vn die*rnot* teir-mil ar vcain. Ac na themtiwn Christ, megis ac y temptiawdd r'ei a hanaddynt wy *ef*, ac eu distrywyt gan seirph. Ac na ‡ vurnurwch *chvvi*, megis ac y murmurodd rhei o hanynt wy, ac au dinistrwyt gan y dinistrydd. A'r petheu hyn oll a ddeuth yddynt wy er esemplae, ac a escrivenwyt er rybydd i ni, ar ba rei y dygwyddawdd * tervynae ‡ yr oesoedd. Can hyny hwn a debic y vot yn sefyll, edrychet rac *iddo* gwympo. Nyd ymavlawdd ynoch ‡ demtation, addieithyr vn dynawl: a'Duw 'sy ffyddlawn, yr hwn ny ad eich temto *chvvi* uchlaw *hyn* a alloch, eithyr gyd a'r * temtation y gwna ef ‡ ellyngdawt, val y galloch * ymdaro. Erwydd paam vy-caredigion ‡ ffowch rrac eiddol-addoli*ad.* Dywedyt ydd wyf val wrth rei pwylloc: bernw-chwi pa beth wyf yn ei ddywedyt. * Phiol y vendith rhon ydd ym yn ei bendithio, any*d* commun gwaet Christ yw? Y bara rhwn a dorwn, anyd commun corph Christ yw? Can ys *nyni* yr ei ym ‡ laweroedd '*yd*ym vn bara, ac vn corph, can *e*yn bot *ni* oll yn gyfranog*ion* o vn bara. Edrychwch ar yr Israel ‡ rhwn 'sy * erwydd y cnawd: anyd yw 'r ei a vwytaant or abertheu, yn gyfranog*ion* o'r allor? Beth ddywedaf gan hyny? ai bot yr ‡ eiddol yn ddim neu vot yr hyn a aberthir ir * eiddolon yn ddim? *nag yvv*, anyd am y petheu a abertha y Cenetloedd, eu bot yn y haberthu y gythreulicit, ac nyd i Dduw: ac ny vynnwn y chwi vot yn cymddeithas a'r cythreulieit. Ny ellwch yfet *o* phiol yr Arglwydd, a*c o* phiol y cythreulieit. Ny ellwch vot yn gyfranog*ion* o * vord yr Arglwydd, ac o vord y cythreulieit. A annogwn *ni* yr Arglwydd y ddigio? a *yd*ym ni yn gadarnach nac ef? Y mae pop ‡ peth yn * rhydd i mi, eithr ny wna pop peth les: pop peth 'sy rydd i mi, eithyr nyd yw pop peht yn addail*ad.* Na cheisiet neb y peth 'sydd yddaw y *h*un, any*d* pop

‡ 'sy
* drachwantu
* delw
* rwythwch
* dywedd y
‡ byt
‡ brovedigeth
* provedigeth
‡ ddiangfa
* aros, ddyoddef
‡ cilwch ymogelwch
* Cwpan, diowdlestr
‡ liosoc
* ar ol, o bleit
‡ delw, gaddwduw
* delweu
* vwrdd
‡ dim
* gyfreithlon

‡ llall, gylydd vn lles *y* ‡ arall: Beth bynac a werthir yn y gigva bwytewch, eb y mofyn dim er mwyn cydwybot. Can
* yr Arglwydd bieu 'r ddaiar ys * yddaw'r Arglwydd y ddaiar, a'i chyflawnder. A's bydd neb o'r ei ny chredant, ich gohawdd a'
* galw chwi*theu* yn myned, beth bynac a ddoter geyr eich
* o bleit, o ran bron, bwytewch, eb ymofyn dim * er mwn cydwybot. Eithyr a's dywait nep wrthych, E a aberthwyt *y peth*
‡ eidole, delwe hyn ir eiddolon, na vwytewch *ddim hano*, o bleit hwn a ei dangosawdd, ac er cydwybot (can ys yr Arglwydd bieu 'r ddayar, a' chwbl 'sydd ynthei) a'r gydwybot meddaf, nyd tau*di* any*d vn*arall: can ys paam y bernir vy rrydddit i gan gydwybot *vn* arall? O bleit a's my*vi* trwy ddawn *Duvv* a wyf gyfranoc, paam im ceplir i, am yr hyn ydd wy vi yn diol*vv*ch? Am hyny pa vn bynac a wneloch ai bwyta ai yfet, ai peth aral', gwnewch bop peth er gogoniant *i* D*d*uw. Na vyddwch achos
* rhwystr * tramcwydd, nac ir Iuddeon, nac ir Cenetloedd, nac i Eccles Duw: 'sef megis ac ydd wy vi yn rhengy bodd pawp ym pop peth, eb geisio y lles vy huna*an*, anyd *lles*
‡ iachedio l'aweroedd, val e bont ‡ cadwedic.

## Pen. xj.

**Mae ef yn ceryddu y cammarverae a ymlithresynt y Eccles hwy. Megis ynghylch gweddiaw, propwyto, A 'gwasanaethu Swper yr Arglwydd, Gan eu hedvryd yw 'osodiat cyntaf.**

BYDDWCH ddilynwyr i mi, vegis ac *ydd* wyvi i Christ. Yr owrhon, vrodur, ich *can*molaf, can ywch coffa*u* vy oll betheu, a' chadw 'r ordenhadeu, val y rhoesym y'wch. A mi a wyllyswn ywch wybot, mae Christ yw pen pop gwr: a'r gwr yw pen y wreic: a' Duw yw pen Chrst. Pop gwr yn gweddiaw, neu yn
* precethu * propwytaw *ac* a' dim ‡ am ei ben, a amparcha ei ben.
‡ ar Eithyr pop gwreic a weddia neu a bropwyta yn bennoeth, amparcha *hi* phen: can ys yr vnryw beth yw *hyny*, a' phe bei wedy eilliaw. Can hyny any bydd
* wedy thoi y wreic * a dim am hei phen cneifier *hi* hefyt: a's
‡ gwarth, cywilydd ‡ gwradwydd*us* i wraic hi chneifio neu h'eillio, * rhoed beth am hi phen. Can ys gwr ny ddyly ‡ wisco am i ben:
* toer hi
‡ doi can y vot ef yn ddelw ac yn 'ogoniant Duw: a'r wreic yw gogoniant y gwr. Can nad yw 'r gwr o'r wreic,
* wnaethpwyt amyn y wreic o'r gwr. Can na * chreawyt y gwr er mwyn y wraic, anyd y wreic er mwyn y gwr. Am
‡ dirpir
* allu bower hyny y ‡ dylei y wreic vod yddei * veddiant ar y phen, o bleit yr Angelion. Er hyny, ac nyd yw 'r gwr eb

y wreic, na'r wreic eb y gwr yn yr Arglwydd. Can ys megis y mae'r wreic o'r gwr, velly y mae'r gwr hefyt trwy'r wreic: a' phop dim 'sy o Dduw. Bernwch ynoch ych vnain, ai * hardd yw y wreic weddiaw Duw eb ‡ ddim am i phen? Anyd yw yntef * anian y ‡ dyscu ywch, a's bydd * briger i wr, mae mae * anglod yw iddo? Ac a's bydd briger i wreic, clod yw yddei: can ys ei briger a roed yddei ‡ tu ac wisc *pen.* A'd oes nep a vyn vot yn ymrysongar, ny*d* oes genym ni gyfryw * gynnevot na *chan* ecclesi Duw.

* gweddus
‡ eb i thoi
* natur
‡ dangos
* gwallt hir
* cywilydd
‡ yn lle to
* ddevot

Weithian yn hyn a venagaf, ny '*ch* canmolaf, *sef* ych bot yn ymgynull, nyd er lles, any*d ir* * afles. Can ys yn gynta *dim,* pan ymgynulloch ir Eccles, *mi* a glywaf vot ymrysoneu yn eich plith: ac ydd wyf ýn credu *y vot yn vvir* o ran. Can ys ‡ dir yw bot *travvs*-opinionae yn eich plith, megis y bo yn eglur yr ei 'sy yn * berffeith yn eich plith. Am hyny pan ddeloch ynghyt ir vn *lle,* ny*d hynn* yw bwyta Swper yr Arglwydd. Can ys pop vn wrth vwyta, a gymer y swper y *hun* o'r blaen, ac vn 'sy a newyn *arno,* ac arall 'sy veddw. Any*d* oes ‡ ychwi dai i vwyta ac y yvet *ynthynt?* a dremygwch-*vvi* Eccles Dew, ac a warthew-chwi 'r ei nyd oes *dim* ganthwynt? *pa beth* a ddywedaf wrthych? *a* ganmolaf chwi * yn hyn? na chanmolaf. Can ys *d*erbyniais y gan yr Arglwydd yr hyn ‡ ac a roddais y chwi, *nid amgen,* Bot ir Arglwydd Iesu y nos-hon y bradychwyt ef, gymeryt bara. A' gwedy yddo ddiolo*vv*ch, ef au tores, ac a ddyvot, Cymerwch, bwytewch: hwn yw vy-corph, yr hwn * a dorir drosoch: gwnewch hyn er co*ff*a am danaf. Yr vn modd hefyt *y cymerth ef* y ‡ phiol, gwedy yddaw swpery, gan ddywedyt, Y phiol hon yw 'r Testament newydd * yn vy-gwaet: gwnewch hyn cynniuer-gwaith-bynac yr yfoch, er co*ff*a am danaf. Can ys cynniuer ‡ gwaith bynac y bwytaoch y bara hwn, ac yr yfoch y * phiol hon, y dangoswch angeu yr Arglwydd ‡ y 'n y ddelo. Can hyny, pwybynac a vwytao 'r bara hwn, ac a yfo * y phiol yn an*t*eilwng, a vydd ‡ 'auawc * am *ddirmygu* corph a' gwaed yr Arglwydd. Am hyny ‡ provet pop dyn y*h*un, ac velly bwytaet o'r bara hwn, ac yfet o'r phiol hon. Can ys hwn a vwyta o ac a yfo yn anteilwng, a vwyty ac a yf y * varnedigaeth y hun, *can* na*d* yw yn iawn-varnu am gorph yr Arglwydd. O bleit hyn y mae llawer

*Yr Epistol ddydd Iou cyn die Pasc*
* eniwed, drwc
‡ angenrait
* brovedic
‡ genwch
* ar
‡ hefyt
* ydd ys yn ei dori
‡ calic, cwpan
* trwy, gan
‡ amser
* cwpan
‡ yd tra
* 'r
‡ camgilus
* o
‡ chwiliet
* ddienydd, ddamnedigeth

yn weinion, ac yn gleifion yn eich plith, a' llawer yn ‡hunaw. Can ys pe in barnem ein*h*unain, ny ein *bernit *ni ddim*. Eithr pan in barnir, in cospir y gan yr Arglwydd, rac ein barnu-yn-euawc gyd a'r byt. Can hyny, vy-brodur, pan ddeloch ynghyt i vwyta, aroswch eu gylydd. Ac a's bydd newyn ar neb, bwytaet gratref, rac eich dyvot yn-cyt *i varnedigeth. *Tu ac at am* petheu eraill, *mi* au trefnaf pan ddelwyf.

‡ cysou, meirw
* poenit, cospit
‡ mewn

## Pen xij.

Gohanieth donieu yr Yspryt glan a ddylir ei arverer adail. Eccles Christ, Megis y mae aelodae corph dyn yn gwasanaethu er mwynianteu eu gylydd.

*Yr Epistol y x. Sul gwedy Trintot.*

NELLACH am ysprytawl *ddoniæ*, vrodur, ny vynnwn y chwi anwybot. Gwyddoch mae Genetloedd oeddech, ac ich dugit *ffvvrdd* at *eidoleu ‡mution, megis ich tywysit. Am hyny ydd espesaf y'wch, nad oes nep yn ymadrodd *trwy Yspryt Duw, yn galw Iesu yn escommun*beth:* hefyd nyd oes nep a all dywedyt mae '*r* Iesu yw 'r Arglwydd, a ddieithr trwy 'r Yspryt glan. Sef y mae ‡amryw ddonieu, eithr yr vn Yspryt. Ac y mae amryw *wasanaetheu, eithyr yr vn Arglwydd. Ac ymae amryw weithre*d*-*ia*dae, anyd yr vn Duw ydyw, ysydd yn gweithredu yr ol' petheu hyny ym-pawp. Eithyr amlygiat yr Yspryt y bop vn y rhoddir er ‡llesiant. Can ys y vn y rhoddir trwy 'r Yspryt ymadrodd doethinep: ac y arall y rhoddir ymadrodd gwybyddieth, trwy'r vn*ryvv* Yspryt: ac y arall *y rroddir* ffydd, trwy'r vn *ryvv* Yspryt: ac y arall *doniae *i* iachau trwy 'r vn*ryvv* Yspryt: ac y arall weithredy*adæ* gweithredoedd ‡mawrion: ac y arall propwyto*liaeth:* ac y arall *vvybot* gohanieth ysprytoedd: ac y arall, amryw davodew: ac y arall *ladmerieth tavodeu. A'r oll petheu hyn a weithreda 'sef yr vn ryw Yspryt, gan rannu yn ailltuawl i bop *dyn* megis yr ewyllysa ef. Can ys megis y mae y corph yn vn, ac yddaw lawer o aylodae, a'r oll aelodae yr vn corph, cyd baent llawer, *eto nyd* ynt *anyd* vn corph: ‡ac velly *y mae* Christ. Can ys trwy 'r vn Yspryt in batyddiwyt yn vn corph, *pa vn bynac vom* ai Iuddaeon, ai Groecwyr, ai *caith*ion vom,* ai rhyddion, ac in gwnaethpwyt y yfet ‡yn yr vn Yspryt. Can ys y corph hefyt nyd

* ddelweu
‡ aflafur
* gan
‡ amrafaelion
* weinidog-aetheu, swyddae
‡ llesy ac ef
* rhoddiat
‡ nerthawc
* esponiat, deongl
‡ ys
* gweision
‡ ir

yw vn aylod, anyd llawer. A's y troed a ddywait, Can nad ‡wyf y llaw, nyd wyf o'r corph, anyd yw hi er hyny o'r corph? Ac a's dywait y glust, Can nad wyf i lygat, nyd wyf o'r corph: anyd yw hi er hyny o'r corph? A's yr oll corph *vyddei* lygat, p'le *byddei* 'r clywed*igeth?* a's y cwbl *vyddei* yn glywed*igeth*, p'le *bydei*'r arogl*edigeth?* Ac yr awrhon ef a 'osodawdd Duw yr aelodae bop vn o hanyn yn y corph val y bu da ganto ef. Can ys pe baent oll vn aelod, p'le *byddei* 'r corph? And yr awrhon y mae aelodae lawer, ac *eto* vn corph. A'r llygod ny all dywedyt wrth y llaw, Nyd *rait i mi wrthyt: na'r pen drachefn wrth y traet, Nyd raid y mi wrthych. Eithyr yn vwy o o lawer yr aebodae hyny ir corph, a dybir eu bot yn ‡l'escaf, 'sydd yn angenreidiol. A'r *aelodae hyny* ir corph, yr ei a dybiwn *eu* bot yn *anparchedichaf, y gosodwn vwy o ‡barch *yn ei cylch: a'n aelodae anhardd 'sy a mwy o harddiwch am danwynt. Can nad rait in *aelode* hairdd*ion vvrthavv:* eithyr Duw a gyd ardemperawdd y corph, gan roddy mwy o barch ir *lle* 'r oedd yn ddefficiol: Rac bot ancydvot yn y corph: anyd bot i'r aelodeu gyd 'ofalu dros y gylydd. Can hyny a's doluria vn aylod, e gyd-doluria 'r oll aelodae: a's anrydeddir vn aylod, e gyd-doluria'r oll aelodae: as anrydeddir vn aylod, cyd lawenhau a wna'r ol' aeloodae. Ac ydd yw chwi yn gorph Christ, ac yn aelodae *bob vn* o ran. A' Duw a lunieithawdd rei yn yr Eccles: *megis* yn gyntaf, Apostolion, yn ail Propwyti, yn trydydd ‡dyscyawdwyr, yno yr ei wnant *wyrthiae: gwedy hyny, donieu iachau, canhorthwywyr, llywodaethwyr, ‡rhywiae tavodydd. Ai Apostolion pawp? ai Propwyti pawp? ai dyscawdwyr pawp? a wna pawp wyrthieu? a oes gan bawp ddoniae i iachau? a yw pawp yn cael ymadrodd a' thavodeu? a ydyw pawp yn *medry* *latimeru? A' deisyfwch*vvi* y donieu goreu, ac eto y dangosaf ywch fford ‡draf ardderchawc.

‡ mi
* oes arnaf vi oth eisie di
‡ wanaf
* anhonestaf
‡ ddiwill
* am danynt, arnynt
‡ dyoddef
‡ doctorieit
* veddianteu
‡ amravaelion
* deongl, esponio, cyfieithu
‡ yn dra dyval

## Pen. xiij.

**Can vot cariat yn ffynnon ac yn rheol y adailat yr Eccles, y mae ef yn ysgythru ei natur, ei swydd ai voliant.**

*Yr Epistol ar y Sul y elwir Quinquagesima.*

PED ymddiddanwn a' thafodeu dynion ac Angelion, a mi eb gariat, *perfeith* genyf, yr wyf val *efydd

* clydu, pres

yn seiniaw, neu cymbal yn tincian, a' phe *gvvyddvvn*
prophwyto, a' gwybot oll ddirgelion, a' phop ‡cel-
fyddyt, a' phe bei genyf *yr* oll ffydd, mal y gallwn
ysmuto mynydde*dd*, a' bod eb gariat, ny*d* wyf ddim.
A' phe porthwn y tlodion am oll da, a' phe rhoddwn
vy-corph, *im llosci, a' bod eb gariat, nyd dim lles-ymy.
Cariat ys y ‡ddyoddefus, y mae yn gymwynascar:
cariat ny chenvigena; cariat *nyd ymffrostia: nyd
ymchwydda: ny ‡ddiystyra: ny chais yr yddaw y
hunan: ny ‡chythruddir: ny veddwl drwc: ny
lawenha am *ancyfiawnder, anyd cydlawenhau a
*gwirionedd: goddef pop dim, credu pop dim: go-
beitho pop dim: ymaros *ym* pop dim. Cariat byth ny
chwymp ymeith, cyd ‡pallo prophetolaethae, ai peidiaw
tavodae, ai div*l*annu gwybodaeth. Can ys o ran y
gwyddom, ac o ran ydd ym yn *prophwyto. Anyd
gwedy y del yr hyn 'sy perfeith, yno yr hyn 'sydd o
ran, a ‡ddilëir. Pan oeddwn yn *vach*cen*, mal
bachen ‡yr ymddiddanwn, mal bachcen y dyallwn, mal
bachcen y meddyliwn: and pam aethym yn wr, *mi*
rois*ym* heibio *vachceneiddrwydd. Can ys yr awrhon
yddym yn gweled *mewn drych ar ddamec: and yno
*y gvvelvvn* wynep yn wynep. Yr awrhon yr adwaen o
ran: and yno yr ‡adnabyddaf megis ac im *adwaenir.
Ac yr awrhon y mae yn aros ffydd, gobeith *a'* chariat,
*sef* y tri hyn: a'r pennaf or ei hyn *yvv* cariat.

‡ gwybyddieth
* yw-losci
‡ hwyrddic, ymorthous
* ys ydd ddiglec, ddianwadal
‡ vychana
* annogir i vrochi, chyffroir
* enwiredd
* gwiredd, cyfiawnder
‡ dyleijr
* dangos dyscu ereill
‡ diflennir
* vab
‡ y dwn, bwriawdd synniwn
* vachcendit, bethe vachceneidd
* drwy wydr yn odywyll
‡ gwybyddaf
* dyscir, addyscir

## Pen. xiiij.

**Eiriol bot cariat y mae ef, a' chanmol dawn tavodae, a' doniae ysprytol ereill. Eithyr yn bennaf prophwyto. Y mae ef yn gorchymyn i verchet ymostegu yn yr Eccles, Ac y mae yn dangos pa ryw vrddasdrefn a ddylit ei gadw yn yr Ecclee.**

DILYNWCH gariat, a' deisyfwch *ddoniæ* yspryt-
awl, ac yn hytrach *bot* y chwi prophwyto. Can
ys yr hwn a ‡ymddiddan davot *dieithr*, nyd *wrth
ddynion yr ymddiddan, anyd wrth Dduw: can nad oes
neb yn *ei* *glywet: er hynny yn yr yspryt y mae ef
yn *ymddiddan dirgelion: eithr hwn 'sy 'n prophwyto,
a ymddiddan wrth ddynion er adail*ad*, ac er cygor, a'
*c*honfort. Yr hwn a ddywait *mevvn* tavot *dieithr*, ai
*h*adail y hunan: any*d* yr vn a prophwyta a adail yr
Eccles. *Mi* vynnwn pe *llavarech bawp davot *diethr*,
anyd yn gynt *bot* y chwi prophwyto: can ys mwy yw
'r vn a brophwyta, na 'r vn a lefair *amryvv* davodae, o

* Erlidiwch Canlynwch
‡ lavara,
‡ ymadrodd, ddywet
‡ a
* ddyall
‡ llavaru, dywedyt
* ymddiddanech

ddieithr yddo *ei* ddeongl, y *gahel* o'r Eccles dderbyn adail*ad*. Ac yr awrhon, vroder, a'*s* dawaf *i* atoch gan lavaru *amrafael* davodae, pa les a wnaf ychwy, dyeithr ymddiddan o hanaf wrthych, ai drwy *dd*atguddiat, ai drwy wybyddieth, ai drwy brophetolieth, ai drwy ‡ddysceidaeth? Hefyt petheu di *enaid wrth roi ‡llais, *pa vn bynac vo* ai ‡chwibano*g*l ai telyn, dyeithr yddynt roi gohan yn y llesiae, pa wedd y gwyddir beth a genir ar y chwibano*g*l neu ar y delyn? A' hefyt a's yr *vtcorn a rydd lais ‡anhynod, pwy a ymbaratoa i r*h*yvel? Ac velly chwi*theu*, trwy'r tavod o ddyeithr ywch adrodd geiriae *yn arwyddocau, pa wedd y dyellir beth a ddyweder? can ys byddwch yn ymddiddan yn ‡yr awyr. Y mae cynniuer o rywie*gaethe* lleisiae, (val y *bydd) yn y byd, ac nyd *oes* vn o hanynt yn ‡vut. Can hyny a ddyeithr ym' wybot grym y llais, *mi* vyddaf yn *varbarus ir vn a vo yn ymddiddan, a'r vn a ymddiddan, *vydd* barbarus i min*heu*. Ac velly chwi*theu* yn gymeint ach bot yn deisyfy *doniæ* ysprytol, ceisiwch *dra*ragori tuac at ‡adeiladeth yr Eccles. Erwydd paam, gweddiet yr hwn a ymddiddan a thafod *dieithr*, ar yddo *vedry* ddeongl. Can ys a'*s* gweddiaf *mevvn* tavod *diethr*, e weddia vy yspryt: anyd y mae vy dyall eb *ddim*ffrwyth. Beth wrth hyny? gweddiaf gan yr yspryt a' gweddiaf gan *ddyal hefyt, canaf a'r yspryt 'a chanaf a'r dyall hefyt. Ac any*d* ef, pan vendithych ‡gan yr yspryt, pa wedd y bydd ir hwn 'sy yn lle an*d*yscedic, ddywedyt Amen, ar *bryd* dy ddiolwch *di*, can na wyr ef beth a ddywedy? Can ys diau dy vot ti yn diol*vv*ch yn *ddivei, eithr nad yw'r llal' yn cael adailadaeth. Im Duw y diolchaf, vy-bot yn dywedyt tafodeu yn vwy na chwi oll. Er hyny yn yr Eccles gwell genyf ddywedyt pemp gair a'm dyall er mwyn ymy hefyt addyscu eraill, na ‡dec mil o eriae mewn tavod *dieithr*. Vroder, na vyddwch vechcin o ddyall, eithr am ddrigioni byddwch vechcin, anyd o ddyall byddwch gwbl-*oedran*. Yny Ddeddyf ydd yscrivenir, Drwy 'rei o davodae ereill, a' thrwy *iaithoedd eraill yr ymadroddaf wrth y popul hyn: eto velly ny ‡chlywant vi, medd yr Arglwydd. Can hyny tavodae *dieithr* ynt yn *lle* arwydd, nyd ir sawl a credant, anyd ir sawl ny c*h*redant: eithyr propwyto*liaeth a vvasanaetha* ny*d* ir ei a credant, anyd ir ei ny c*h*redant. A's can hyny, pan ddel yr oll Eccles ynghyt yn vn, a phawp yn

‡ athraweth
* vyw
‡ sain, son, swn,
‡ pip
* trwmpet
‡ aneglur anwybot
* eglur, dyallus
‡ yn over
* dygwydd
‡ aflafar
* estroniaithus
‡ ddirprwyaw y cynnulleidfa
* ddi
‡ ar
* bwyll
‡ ar
* brydferth, dda
‡ *Gr. myrdd*
* wefusae
‡ wrandawant

dywedyt tavodeu *dieithr*, daw y mewn 'rei an*d*yscetic, neu rei eb gredu, any ddywedant, eich bot wedy ‡gorphwyllo? Eithyr a's pawp a propwytant, a' dyvot y mewn vn eb gredu, neu vn andyscedic, ef a *arguoeddir gan bawp, at a vernir gan bawp. Ac velly yr amlygir ‡dirgeloedd ei galon, ac velly y cwymp ef ar ei wynep ac yr addola Dduw, ac a ddywait yn 'oleu vot Duw ynoch yn ddiau, Beth bellach, vroder? pan ddeloch yn-cyt, *vvrth val* y bo gan bop vn o hanoch psalm, *neu* vot ganto ddysc*eidaeth*, *neu* vot ganto davot, *neu* vot gantho *dd*atguddd, *neu* vot gantho *esponiat, byddet pop peth oll er adail*ieth*. A dywait nep davot *dieithyr gvvneler* ‡ *bob* ddau neu or mwyaf *bob* dri, a hyny ar ‡gylch ac *esponet vn. Ac any bydd esponiwr, tawet *a son* yn yr Eccles, *yr hvvn a ddavvait iaithoedd*, a' dywedet wrtho yhunan, ac wrth Dduw. Dywedet y Propwyti ddau, neu dri, a' barnet y llaill. Ac a's *d*atguddiwyt dim y arall a vo yn eistedd yno, tawet y cyntaf. Can ys chwi ellwch oll bropwyto bop ‡vn ac vn, val y gallont oll ddyscu, ac oll gael ‡confforth. Ac ysprytoedd y Prophwyti 'sy ddarestyngedic ir Prophwyti. Can na*d* ydyw Duw yn *avvdur* ymryson*gerdd*, anyd tangneddyf, * *vegis y gvvelvvn* yn oll Ccclesi*dd* y Sainct*æ*. Ymosteget eich gwragedd yn yr Ecclesi: can na chaniatëir yddynt wy gael dywedyt: can ys **dirpr* yddynt *vvy* vot yn ddarestyngedic, megis ac y mae y Ddeddyf yn dywedyt. Ac a's mynant ddyscu dim, ymofynant ai gwyr ‡gartref: can ys *gwarth*us* yw i wragedd ‡ddywedyt *dim* yn yr Eccles. Ai ywrthy chwi y daeth gair Duw *allan*, neu ai atochwi yn vnic y daeth ef? A's tybia nep y vot *yhun* yn Prophwyt, neu yn ysprytawl, cydnabyddet vot y petheu a yscrivenaf atoch, yn 'orchymynion yr Arglwydd. Ac a*d* oes neb yn anwybot, anwybyddet. Can hyny, vroddyr, *deisyfwch *vot yvvch* brophwyto, ac na 'oherddwch ddywedyt ieithoedd. Gwneler pop dim yn weddaidd, ac ‡erwydd trefn.

‡ ynvydu
* veijr
‡ cyfrinache
* ddeogliat, gwneler
‡ gan
‡ stem
* ddeonglet
‡ eilwers
* diddanwch
‡ *ydd wyf yn dangos*
* *rhaid*
‡ yrn rhef
* anhurdd
‡ ymadrodd
‡ puchwch, damunwch
‡ mewn ordr

## Pen. XV.

Mae ef yn provi bot cyvodedigaeth y meirw. Ac yn gyntaf bot Christ gwedy cyvodi. Yno y bydd y ninheu gyfody. A'r modd pa wedd.

*Yr Epistol yr xi. Sul gwedy Trintot.*

AC *vvele*, vroder, *llyma* vi yn menegi ywch yr Euangel, *rhon* a ‡euangelais y chwy, yr hon hefyt a *dd*erbyniesoch, ac yn yr hon ydd ych yn *sefyll, a'

‡ bregethais
* aros

thrwy 'r hon ich iachëir, a's cedwch yn eich cof, pa
vodd yr euangelais *y hi* ychwy, a ddieithr *dar*vot ywch
gredu yn over. Can ys yn gyntaf *dim*, y rhoddeis
ychwi yr hyn a *dd*erbyniais, pawedd y bu varw Christ
tros ein pechateu, *erwydd yr Scrythurae, a'y gladdu * yn ol
ef, ac iddo gyvody y trydydd dydd, erwydd yr Scry-
thurae, a' *ei* weled ef gan Cephas, yno gan y dauddec.
Gwedy hyny, y gwelwyt ef gan vwy na p*h*em*p* cant
broder ar vnwaith: o'r sawl y mae 'r ei yn aros *h*yd
hyn, a'r ei hefyt gwedy ‡hunaw. Gwedy hyny, e ‡ cysgu, 'sef meirw
welspwyt gan Iaco: yno y gan yr oll Apostolion. Ac
yn *ddywethaf *oll* e welspwyt geny vi*ne* hefyt vegis *gan* * olaf
vn ‡an*t*em*p*ic. Can ys mi yw 'r lleiaf o'r Apostol*i*on, ‡ a anet allan o ddymp, ne amser
rhwn nid wyf *deilwng, val im galwer yn Apostol, can
erlid o hanof Eccles Duw. Eithr gan 'rat Duw ydd * wiw, gymmesur
wyf, hyn *yd*wyf: a' ei rat rhwn 'sy ynof, ny bu over:
eithyr *mi* a ‡lavuriais yn helaethach nac wyntwy oll: ‡ dravaelais
nyd mi *hagen, amyn y rhat Duw a'r y'*sy* gyd a mi. * er hyny, chwaith
Can hynny pa vn bynac ai *my*vi, a'i wyntwy, velly y pre-
cethwn, ac velly y credesoch.

Ac a's precethir *ddarvot* cyvodi Christ o veirw, pa
vodd y dywait 'r ei yn *eich* plith chwi, nad oes cyvod-
iad*igeth* y meirw? O bleit any*d* oes cyfodiadi*geth* y
meirw, velly ny chyfodwyt Christ. Ac any chyvodwyt
Christ, mae yntef *ein* precaeth ni yn over, ac *ys* over
hefyt yw ych ffydd chwi. Ac in ceffir *ni* hefyt yn
testion gauawc ‡i Dduo: can ys testiasam *o Dduw ‡ am
ddarvot yddaw *ef* gyvody Christ y vyny*dd:* 'rhwn ny's * am
cyfodawdd *ef y vyny*, any chyfodir y meirw. Can ys
any chyfodir y meirw, ny chyfodwyt Christ chwaith.
Ac any chyfodwyt Christ, *ys* over yw ych ffydd *chvvi:*
ydd ych eto yn eich pechotae. Ac velly yr ei 'sy wedy
‡hunaw yn-Christ, a *gyfer*gollwyt. A's yn y vuchedd ‡ cysgu, meirw
hon yn vnic ydd ym yn gobeithio yn-Christ, yr ei tru-
anaf o'r oll ddynion y*d*ym. Ac yr awrhon e gyvodwyt
Christ o veirw, ac a wnaethpwyt yn vlaenffrwyth yr ei
a hunesont. Can ys gwedy trwy ddyn *ddyvot* angeu,
trwy ddyn hefyt *y daeth* cyvodiad*igeth* y meirw. Canys
megis, yn Adda y mae pawp yn meirw, velly hefyt
yn-Christ y byw*h*eir pawp, eithr pop vn yn y drefn y
hunan: y blaenffrwyth yw Christ, gwedy hyny, yr ei
'sydd i Christ, yn y ddyvodiat ef y *cyvodant.* Yno *y*
*bydd* y dywedd, gwedy rroddo ef y deyrnas y Dduw,
'sef y Tat, gwedy yddo *ef* ‡ddilëu pop pendevigaeth, a' ‡ dirymio, dadwneuthur
phob awturtot a' meddiant.

* dir
‡ nes iddo ddodi
‡ yvv
* hwnw
‡ yn lle meirw
* chwaith
‡ eich llawenydd
* huder
‡ Diffrowch
* am
‡ tydi ffol
* vyweir, vywoceir
‡ bu, yr ewyllysodd
* pop cic
‡ ehetiaid
* vn
‡ lleuad
* mewn
‡ ddianrydedd
* mewn meddiant
‡ naturiol
* bywogi, bywogeth, a wna yn vyw

Can ys *rait iddo deyrnasu ‡y n y ddoto ei oll 'elynion y dan y draet. Y gelyn dywethaf a ddinistrir ‡*vydd* angeu. Can ys ef a ddarestyngawdd pop dim y dan ei draet. (A' phan ddywait ef ddarvot darestwng pop peth *yddavv*, y mae yn amlwc y vot *ef wedy ei ddyeithro, a ddarestyngawdd bop peth y danaw.) A' phan ddarestynger pop dim yddaw, yno'r Map hefyt yntef a ddarestyngir y hwn, a ddarestyngodd bop dim y danaw, val y bo Duw bop *peth* oll yn oll. A's amgen beth a wnant wy a va-tyddiwyt ‡dros veirw? a's y meirw ny chyfodir *yn ollawl, paam y batyddijr hwy dros veirw? Paam y periclir ni bop awr? Gan ‡ein gorfoledd ys y genyf yn-Christ Iesu ein Arglwydd ydd wyf yn marw beunydd. A's ymleddais ac aniueiliaid yn Ephesus yn ol dull dyn*ion*, pa leshad ymy, any chyfodir y meirw? bwytawn ac yfwn: can ys y voru y byddwn veirw. Na *thwyller chwi: ymadroddion drwc a lygran voyseu da. ‡Dithunwch *y vyvv* yn gyfiawn, ac na phechwch: can nad oes gan 'rei wybodaeth *o Dduw. Er cywilydd ywch y dywedaf *hyn*. Eithr e ddywait ryw vn, Pa vodd y cyvodir y meirw? ac a pha *ryvv* gorph y dauant allan? ‡*A* ynfyd, y peth ydd yw-ti yn ei heheu, ny *vyweiddir, addieithr yddo varw. A'r peth yr wyt yn ei heu, nyt wyt yn heu y corph a vydd, anyd y gronyn noeth, megis y dygwydd, o wenith, neu o ryw '*ravvn* eraill. Eithyr Duw a rydd yddo gorph val y ‡bo da ganto ef, 'sef y bob hedyn y gorph y hun. Nyd *yvv* *oll cnawd yr vn ‡*ryvv* gwnad, eithr arall yw cnawd dynion, ac arall yw cnawd aniueilieit, ac arall i byscod, ac arall i *adar. ‡*Y mae* hefyt gyrph nefol, a' chyrph daiarawl: any*d* *arall *yvv* gogoniant yr ei nefol, ac arall *yvv gogoniant*, yr ei daiarol. Arall *yvv* gogoniant yr haul, ac aral' gogoniant y ‡lloer, ac arall gogoniant y ser: canys amrafaelia seren rac seren yn-gogoniant, Vel'y hefyt y mae cyuodiad*igeth* y meirw. *Y corph* a heuir *yn l'wgr*edigeth*, *ac* a gyvodir yn anllwgr*edigeth*. Ef a heuir yn ‡amparch, ac a gyvodir yn-gogoniant: e heuir yn-gwendit, ac e gyuodir *yn-nerthoc. E heuir yn gorph ‡anianol, *ac* a gyfodir yn corph ysprytol: y mae corph anianol, ac y mae corph ysprytol: Ac velly y mae yn escrivenedic. Y dyn cyntaf Adda a wnaethpwyt yn eneid byw: a'r Adda dywethaf *a wnaetpvvyt* yn yspryt *bywodr. Er hyny ny *wnethpvvyt* yn gyntaf yr hwn 'sydd yn ysprytol: any*d* yr *vn* anianol, ac yno yr vn ysprytawl.

Y dyn cyntaf *ys ydd* o'r ddaiar, yn ddaiarol: yr ail dyn yw yr Arglwydd o'r nef. Vn ryw *vn* a'r daiarol, cyfryw *yvv* 'r ei *sy yn* d*d*aiarol*ion:* a' megis yr *vn sy yn* nefol, cyfryw hefyt *yw* 'r *ei* nefol. A' megys y * arweddesam ddelw y*r vn* daiarol, velly yr arweddwn ddelw y*r vn* nefol. Hyd a ddywedaf, vroder, na ddychon ‡ cnawd a 'gwaed etiveddu teyrnas Duw, ac nyd yw llwgr*edigeth* yn etiveddu anllwgr*edigeth*. * Nacha vi yn dangos yw'ch ddirgelwch, Ny hunwn ni oll, eithr newidir ni ol', ym-moment *ac* yn-trawiat * *y* llygat wrth *lef* yr *vt*corn dywethaf: canys y*r* vtcorn a gan, a'r meirw a gyuodir yn anllygredic, a ni*nhe*a ‡ ysmutir. Canys * dir yw ir *peth* llygradwy hwn wisco anllygredigeth, ac ir *peth* marwol hwn wisco anmarwoleth. Velly gwedy ir *peth* llygradwy hwn wisco anl'wgredigeth, ac ir *peth* marwol hwn wisco anmarwoleth, yno y *der*vydd yr ymadrodd a scrivenwyt, Angeu a lyncwyt er * buddugoliaeth. * Angeu, p'le *may* dy ‡ gonyn? y ‡ bedd*rod*, p'le *may* dy vuddygoliaeth? Conyn angeu *ydyvv* pechat: a' nerth pechat *yvv* 'r Ddeddyf. An'd y Dduw y ddiol*vv*ch, yr hwn a roddes i ni y vuddygoliaeth trwy ein Arglwydd Iesu Christ. Can hyny vy-caredic vrodyr, byddwch * ffyrfion a' diymmot * helaethion yn wastat yn-gwaith yr Arglwydd, can y chwi wybot, nad yw eich llavur yn over ‡ yn yr Arglwydd.

* dugesam
‡ oic
* Wely
‡ bawp
* yr amrant aryllall
‡ newidir
* raid
* gorvodiaeth
‡ golyn
* *Angeu, ple mae dy vuddugoliaeth?*
‡ *bedd, ple mae dy gonyn?*
* safadwy a' diyscoc, diserfyll
‡ aml
* trwy, gan

## Pen. xvj.

**Mae ef yn dwyn ar gof yddwynt am gasclu ir broder tlodion yn-Caersalem, Raid i ni barhau yn y ffydd, yn-cariat ar Christ a'n cymydawe. Gwedy ei hanerchion, y may ef yn damunaw yddwynt cwbl lwyddiant.**

TUAC at am y casel ir Sainct*æ*, megis yr ordeiniais yn Ecclesi Galatia, velly gwnew-chwi*theu* hefyt. Pop *dydd* cyntaf o'r wythnos, dodet pop vn o hanoch heibio wrtho y hun, gan roi y gadw megis y rhoes *Duvv* yddaw * lwyddiant, val na bo *ddim* or casclu pan ddelwyfi. A' gwedy 'delwyf pa 'rei bynac a gymradwyoch drwy lythyrae, yr ei hyny a *dd*anvonaf y ddwyn ych ‡ cari*d*awt y Caerusalem. Ac a's bydd yn gymesur mynet o hano vi hefyt wy ddawant y gyd a mi. Yno y dawaf atoch, gwedy ydd elwyf trwy Macedonia (canys *mi* af trwy Macedonia) ac ef al'ei yr

* ffyniant
‡ rhat, rhodd, cymmorth, haelder, ced

arosaf, ie, neu y gayafaf gyd a chwi, val im hebryngoch y b'le bynac ydd elwyf. Can nad oes im bryd *ym* welet a chwi yr awrhon * ar vy hynt, and gobeithaf yr arosaf enhyd gyd a chwi, a's gad*y* yr Arglwydd. A' *mi* a arosaf yn Ephesus yd ‡ Pentecost. Can ys agorwyt i mi ddrws mawr a' grymus: anyd bot gwrthnebwyr lawer.

* wrth vyned

‡ sef l. die, y sul gwyn

Ac a's Timoth*eu*s a ddaw, edrychwch am y vot ef yn ddiofn * y gyd a chwi: can ys efe 'sy yn gweithio gwaith yr Arglwydd, vegis ac *ydd vvy* vi*nef*. Am hyny na ddiystyret nep ef: anyd hebryngwch ef yn-tangneddyf*us*, val y delo at y vi: can vy-bot yn edrych am danaw y gyd a'r brodur. Ac am *ein* brawd Apollos, mi a ddeisyfeis arno yn vawr, ddyvot atoch y gyd a'r brodur: eithyr nad oedd yn y vryd ef ‡ yn ollawl ddyvot * yr awrhon: anyd e ddaw pan gaffo amser cyfaddas.

* yn eich plith

‡ dim

* ar hyn o amser

Gwiliwch: sefwch-*yn-'lud* yn y ffydd: ymwrolwch, *ac* ymnerthwch. Gwneler eich oll petheu ‡ yn-cariat: Weithian, vrodur, atolygaf ywch (*chvvi* adwaenoch d*u*y*lu* Stephanas, y vod yn vlaenffrwyth Achaia, a' darvot yddyn ymroi y weini ir Sainct*æ*) vot o hanoch yn vvydd ir cyfryw, ac y bawp 'sy yn cydweithio a ni ac yn * llavurio. Llawen wyf am ddyvodiat Stephanas, a' Fortunatus, ac Achaicus: can yddyn hwy gyflawny ‡ y deffic o hano-chwi. Can ys diddanesont vy * yspryt *i* a'r *vn* yddoch: cydnabyddwch gan hyny y cyfryw '*rei*. Yr Eccles*idd* yr Asia ach anerchant. Aquila ac P*h*riscilla y gyd a'r Eccles ys ydd yn y t*u*y hwy, a'ch anerchant yn vawr yn yr Arglwydd. Yr oll vrodur ach anerchant. Anerchwch *bavvp* y gylydd a chusan sainctaidd*ol*. Vy anerchiat *i* Paul * a'r l'aw veuvi. A'd *oes* neb ny*d* yw yn caru yr Arglwydd Iesu Christ, bid ef ‡ anathema maranatha. Rat ein Arglwydd Iesu Christ gyd a chwi. *Bo* vy-cariat i gyd a chwi oll yn-Christ Iesu, Amen.

‡ mewn

* travaelu

‡ yr eisieu am danochwi

* meddwl

* am llaw vyhun

‡ yn escomun yd angeu

Yr *epistol* cyntaf at y Corinthieit, yscrivenedic o Philippi, *ac anvonedic* trwy *lavv* Stephanas, a' Fortunatus, ac Achaicus, a' T*h*imoth*eu*s.

# YR AIL EPISTOL PAUL
AT Y
# CORINTHIEIT.

## YR ARGVMENT.

MEGIS na ellir scrivenu dim, nac mor perfeith, nac mor garedicvryd, a'r nad yw anvuddiol i lawer, ac yn wrthwynebus gan rei, velly yr epistol cyntaf a scrivenesei S. Paul at y Corinthieit, eb law y purdeb a'r perffeithrwydd athraweth, a ddengys gariat arnynt wy yn rhagori ym-pell tros veddylserch anianol; yr hwnn nyd yn vnic ny vuddiawdd i bawp oll, anyd peri caledu calonhae llawer i aros yn ei cildinrwydd, a' thremygu awdurtot yr Apostol. Erwydd pa bleit S. Paul wedy i rwystro gan iawn * anachae y ddyvot atynt wy, a scrivenodd yr epistol hwn o Macedonia, gan veddwl gwplau y gwaith a ddechreasei yn ei plith wy. Yn gyntaf gan hyny y mae ef yn erchi daioni yddynt yn yr Arglwydd, gan ddatcan cyd darvot y ryw 'rei enwir gamarver oi gystuddion ef i ddiddimmu wrth hyny y awturtot ef, er hyny ydd oeddynt yn ddisciipliad angenreidiol, ac wedy eu danvon yddaw ef gan Dduw er gwellhad yddynt wy. A' lle maent wy yn ceryddu am y vot yn hir o ywrthynt, ny ddaeth hyny o ddim anwadalwch, anyd y cytdwyn ai anabledd a'i amperfeitrwydd hwy, rac yddaw yn erbyn ei dadawl gariadserch, 'orvod arver o'r gasgyfreith ac eithaf ei awdurdot. Ac am yr scrivennu yn vlaenllym a wnaethoeddoedd yn yr epistol or blaen, ar ei bai 'n hwy vu hyny, vegis y mae yn awr yn eglaer, gan yddaw bop vn vaddae y sarhaed, ac yntef yn ediuarhau: a' hefyd can y vod yn aflonydd yn ei veddwl, nes cahel o honaw trwy Titus espesrwydd am ei stat a'i cyflwr wy. Eithyr yn gymeint a' bot gau Ebestyl yn bwriadu ‡ divuriaw y awdwrdot ef, y mae ef yn diffoddi ei gorchestddadl hwy ac yn cymmennu ei swydd, ai dyscaelus wasanaethu hi: megis y gorvyddei i Satan dra dallu llygait, yr ei ny welynt ddysclaerdeb yr Euangel ar ei bregeth ef: gweithred yr hyn yw newydddab buchedd, ymwrthot a nyni ein hunain, ymlyn a Duw, ciliaw rac delw-addoliad, a chroesawy y gwir ddysceidaeth, a' chyfryw ddolur ac a vag 'wir ediveirwch o honaw: wrth pa vn y mae wedy ei gyssylltu trugaredd a' thosturi * parth an brodur: hefyd doethinep y ddodi gohan rhwng semlder yr Euangel, a' bocsach y gau precethwyr, yr ei wrth liw precethu'r gwirionedd a geisynt yn vnic lanwy y boliae, lle ydd oedd ef yn wrthwynep i hyny yn y caisaw wyntwy, ac nyd eu da, megis yr oedd yr ei ‡ ymyrrus hyny yn y * enllibiaw ef: erwydd paam wrth ei ddyvodiat y mae ef yn bygwth yr ei a wrthladdant y awdwrdot ef, y menaic ef trwy esempl or egluraf, mae efe yw'r ffyddlawn gennadwr Iesu Christ.

* *achosion*
* *diwadnu*
‡ *tu*
‡ *rhyvygus, rhwyfus*
* *sclandro, hortio*

# YR AIL EPISTOL PAUL
AT Y
# CORINTHIEIT.

## Pen. j.

**Datcan y mae ef vaint y budd a ddaw ir ffyddlonieit ywrth ei cystuddedic dravaelon. A' rhac yddyn vwrw yn yscavnder meddwl arnaw, ddar-**

**vod iddo oedi ei ddyvodiad yn erbyn ei addewid, y mae ef yn provi ei ddwysfryd ai ddianwadalwch, yn gystal gan ei burdep yn precethu, a' hefyt gan ddiysmudedic wirionedd yr Euangel. Yr hon wirionedd a ddysylir ac a'rwndwelir a'r Christ, ac a inselir yn ein calonae gan yr Yspryt glan.**

* gan wrth
‡ wrth
* gonfort, ddyhuddiant
‡ vlinder, trallod, travael,
* neb, vn
‡ ddilys, ddiogel
* ddaeth, wnaed a
‡ dros vesur ytuhwnt in nerth
* sef am ein
‡ bywyt, hoedl,
* yn-uw
* berigl
‡ yr ymddiriedwn
* gorawen, llawenydd
‡ diblyc, gwiriondeb
‡ ymddwyn
* bennaf
* ein
‡ ar
* yn y blaen
‡ ail

PAUL Apostol Iesu Christ trwy *ewyllys Duw, a'*n* brawd Timotheus, at Eccles Duw, ys ydd yn Corinthus y gyd a'r oll Sainct*æ*, yr ei 'sydd yn Achaia: Rat *vo* gyd a chwi, a' thangneddyf y ‡gan Duw ein Tat, a' *chan* yr Arglwydd Iesu Christ. Bendiged*ic yvv* Duw 'sef Tat Arglwydd Iesu Christ, Tat y trugareddae, a' Duw yr oll *ddiddanwch, yr hwn a'n diddana *ni* yn ein ol' ‡'orthrymder, val y gallom ddiddanu yr ei 'sy mewn *dim gorthrymder, trwy 'r diddanwch in diddenir ni*nheu* gan Dduw. Can ys megis yr amlheir dyoddefiadae Christ ynom, velly yr amlheir *ein* diddanwch ni trwy Christ. A' phwy vn bynac ai in gorthrymer, er diddanwch ac iechedv*vrieth* y chwi *ydyvv*, yr hon a weithir gan ymaros yn yr vn ryw ddyoddefiadae, yr ei *dd*ym ni hefyd yn y dyoddef: ai diddaner ni, er diddanwch ac iechedv*vrieth* y chwi *ydyvv*. Ac y mae ein gobeith yn ‡ffyrf am danoch, can y ni wybot megis ac ydd ych' yn gyfranoc*ion* o'r dyoddefiadae, velly *y bydd-vvch* hefyt *gyfranoc* o'r diddanwch. Can ys vroder, ny vynem ywch' anwybot am ein gorthrymdr, y *vu i ni yn yr Asia, *sef* val y pwyswyt arnam‡ yn anveidrawl dros ben *ein* gallu, megis ydd oeddem-mewn-trachyfinggyngor, *ac am yr ‡einioes. Do, ni a *dd*erbyniesam varn angeu ynam, val na 'obeithem ynam ein hunain, any*d* yn* -Duw, yr hwn a gyvyd y meirw. Yr hwn a'*n* gwaredawdd ni ywrth gyfryw ddirvawr *angeu, ac 'sy yn *ein* gwaredu: yn yr hwn ‡y gobeithiwn, *in* gwared*a* rhac llaw, a's *chvvy*chwi a gydweithiwch yn-gweddi trosam, pan yw tros y dawn *a roddet* y ni er *mvvyn* llawer, bod roi diol*vv*ch gan lawer dyn y trosam. Can ys ein *gorvoledd ni yw hyn, *sef* testiolaeth ein cydwybot, can ys yn ‡symlder a' duwiol burdep, ac nyd yn-doethinep cnawdawl, any*d* gan rat Duw y bu i ni ‡ymgydtro yn y byt, ac yn *ben ddivaddef tu ac ato-chwi. Can nad ym yn scrivennu amgen*ach* betheu atoch', nac y ddarlle*n*wch, neu ar ydd ych yn *ei* cydnabot, ac a 'obeithaf y cydnabyddwch yd y dywedd. Sef megis y cydnabuoch ni o ran, ein bot yn orvoledd ychwi, megis ac ydd yw chwi*the* i ni*nheu*, yn-dydd *yr Arglwydd Iesu. Ac ‡yn y gobaith hyn ydd oedd im bryd i ddyvot atoch **y tro* cyntaf, val y caffech ‡ddau

rat, a' myned hebo-chwi i Macedonia, a' dyvot drachefn o Macedonia atoch, a' chael vy *hebrwng genwch tua Iudaia. Can hyny pan oeddwn yn amcanu val hyn, a arverwn i o yscavnder? neu wyfi yn amcanu y petheu 'r wy 'n amcanu, erwdd y cnawd, val y byddei gyd a myvi, ‡Do, do, ac Na ddo, na ddo. Sef *ys* ffyddlon yw Duw, na bu ein gair tu ac atoch, Do, ac Na ddo. Can ys Map Duw Iesu Christ yr hwn a precethwyt yn eich plith *chvvi* genym ni, *'sef my*vi, a' Siluanus a' T*h*imotheus, ny*d* ytoedd, *Do, ac Na ddo: eithyr yndo ef, ‡Do y doedd. Can ys oll addewidion Duw yndo ef *ynt* *Do, ac *ynt* yndaw *ef* Amen, er gogoniant Duw trwy*dd*om ni. A' Duw yw 'r hwn a'n cadarna ni y gyd a chwi yn-Christ, ac a'*n* ‡enneiniodd ni. Yr hwn hefyt a'r *in*seliawdd, ac a roes *ernes yr Yspryt yn ein calonau. Ac ydd wy vi yn galw Duw yn test i'm enait, may i'ch arbed chwi, na ddaethym i ‡yd hynn i Corinthus. Nyd can eyn bot yn arglwyddiaw *ar* eich ffydd *chvvi*, any*d* ein bot yn *ganhorthwywyr ich llawenydd: can ys gan ffydd y sefwch.

* arwain
‡ bwriadu, meddwl
‡ Ie, ie, ac Nag ef, nag ef
* Ie ac Nac ef
‡ Ie
‡ Irodd
* wystleideth
‡ eto
* cyd-ddirprwywyr

## Pen ij.

Dangos ei gariat yddynt y mae ef. Gan erchi hefyd arnynt vot yn esmwyth wrth y godinabwr-cyfathrach, can iddaw edivarhau. Mae ef hefyt yn ymhoffy yn-Duw dros nerthowgrwydd ei ddysceidaeth, Can orchvygu dadl y cyfryw gwerylwyr, ac wrth ymescus dadleu yny erbyn ef, nyd oeddent yn ceisio dim amgen, na dywreiddiaw y athroaeth ef.

EITHR *mi* tervynais hyn yno y hunan, na ddelwn atoch drachefn *yn-tristit. O bleit a's mi ach tristaa chwi, pwy yw'r hwn am llawenha vi, dyeithyr hwn a dristawyt y can y vi? A' mi a scrivenais hyn yma atoch, rac pan ddelwn, ‡cael *o hanof* tristit gan yr ei, y dylywn *ym*lawenhau: mae vy-gobaith ynoch oll, vot vy llawenydd i *yn llavvenydd* y'wch 'oll. Can ys yn-gorthrymder mawr, a' chyfingder calon ydd yscrivenais atoch *gan dda*i*grae lawer: ny*d* val ych tristaid chwi, eithr val y ‡gwybyddech y cariat ys y genyf, yn enwedic y chwi. Ac a *gwnaeth neb*un* dristau, ny wnaeth ef i mi dristau, anyd o ran (rac i mi bwyso *arnavv*) y chwi oll. Digon *yvv* ir cyfryw *vn* *bod ei geryddu gan lawer. Megis yn hytrach yn-gwrthwynep y dylyechwi vaddau *yddavv*, a' ei ddiddanu rac y llyncit y cyfryw *vn*

‡ vernais
* mewn trymder
‡ gymeryd
* a dagre
‡ dyellech
* pharodd
‡ graffu
* gael

y gan 'ormodd ‡ tristit. Erwydd paam, yr atolygaf 'ywch, gadarnhau *eich* cariat arno. Can ys er mwyn hyn hefyt ydd yscrivenais, val y gwy*by*ddwn braw *o hanoch, 'sef a vyddech vvyddion *i bop peth. Yr hwn y maddeuoch ddim yddaw, *y maddeuaf* vinheu hefyt: can ys yn wir a's maddeuais i ddim, ir hwn y maddeuais, er eich mwyn chwi *y maddeuais*, yn-golwc Christ; rac *bod* y Satan ein ‡ gorchvygu: can nad anwybot genym y amcanion ef.

Yno, pan ddaethym i Troas *er *precethu* euangel Christ, ac *bot* agori drws y-my 'gan yr Arglwydd, ny chawn lonydd *yn* vy ‡ yspryt, can na vedrwn gael Titus vy-brawt, anyd *canu yn iach yddynt awnaethym, a' myned ymaith i Macedonia. Anyd y Dduw y ddyolvvch, yr hwn yn wastat a wna yni ‡'orvot yn Christ, ac a eglurha arogl*e* y wybod*aeth* ef trwy*dd*om ym-pop lle. Can ys ydd ym ni y Dduw yn ber *arwynt Christ, yn yr ei 'n a ‡ iachëir, ac yn yr ein a *gyfer*gollir. Ir ei hyn *ydd ym yn* *arogl angeu, i angeu, ac ir llaill yn arogl bywyt, i vywyt, a' phwy 'sy ddigonol i'r petheu hyn. Can nad ym ni val *y mae* llawer, yn *masnach*u* gair Duw: eithr val o burdap, eithr val o Dduw yn-gwydd Duw, ydd ym *ni* yn ymadrodd *yn-Christ.

‡ tristwch, trymder
* am danoch
‡ ym-pop
* i, y
‡ meddwl
* ymiachau
‡ gael y llaw vchaf, vyned ormaes
* arogl, sawyr
‡ gedwir
* arwynt, sawr
‡ arwerthu
* o, am

## Pen iij.

Cymeryd y mae ef yn esempl ffydd y Corinthieit yn brouedigaeth o'r gwirionedd a precethawdd ef. Ac y ddercheafu y Apostoliaeth ef yn erbyn colffrost y gau Ebestyl. Y mae ef yn cyffelypu rhwng y Ddeddyf a'r Euangel.

A DDECHREUWN *ni* ‡ ymganmol drachefn? ai rait i ni val i eraill, wrth *epistolae *can*moliant atochwi, neu *lythyrœ* *can*moliant y ‡ genwch? Ein epistol *ni* ydyw-chwi, yn escrivenedic yn ein calonae, yr hwn a ddyellir ac a ddarlle*nir* gan bawp dyn, can ys eglur ydych, y vot yn epistol Christ, a wasanaethwyt genym ni, ac a yscrivenwyt, ny*d* *a duy, amyn ac Yspryt *y* Duw byw, ny*d* yn lleche main*yn* eithr yn-cnawdol leche y calon.

A' chyfryw ymddiriet sy genym trwy Christ ar Dduw: nyd erwydd ein bot yn ‡ addas o hanam ein hunain, y veddwl*iet* dim, megis o hanam ein hunain, eithyr ein *addasdap *ni* y*sydd* o Dduw. Yr hwn hefyt a'*n* gwnaeth ni yn ‡ weinidogion digonol i'r Testament

‡ ein moli ein hunain
* lythyrae
‡ wrthych
* ac inc
‡ eleche
*Yr Epistol y xij. Sul gwedy Trintot.*
* obaith
‡ deilwng ddigonol
* digonedd, teilyngdot
‡ Venistreit

newydd, nyd *yn vvenidogion* ir llythyr*en*, amyn ir Yspryt: can ys y llythyr*en* a ladd *a'r Yspryt a rydd vywyt. Ac ad yw y wenidogeth angeu wedyr *yscrivennu* a llythyre*nnæ* ai *ffurfiaw ym-main*in*, vot yn-gogoniant*us*, mal na allai plant *yr* Israel edrych yn wynep Moysen, can 'ogoniant ei wyne*pryd* (rhwn '*ogoniant* a ‡ddilewyt) pa wedd na bydd gweinidogeth yr Yspryt ym-mwy o 'ogoniant? Can ys a *bu* gweinidogeth *barnedigaeth yn-*g*ogoniant*us*, mwy o lawer y rhagora gweinidogaeth *cyf*iawnder yn gogoniant. Can ys yr hyn ac 'ogoniantwyt, ny 'ogoniantwyt yn y rhan ‡hon, *sef* a berthyn ir gogoniant **tra*rhagorawl. O bleit a's hynn a ddileid ymaith, *oedd* yn-gogoniant*us*, mwy o lawer *y bydd* hyn a erys, yn ogoniant*us*. Velly can vot genym gyfryw 'obeith, ydd ym *yn arver o ymadrodd ... r *hyderus. Ac nyd *ym ni* mal Moysen, *yr hvvn* ...dodei ‡gudd ar ei wynep, rac y blant *yr* Israel edrych ar *ddiben yr hyn a ddileid. Am hyny y caledwyt y meddwl hwy: can ys yd y dydd heddyw y mae'r *llen*-gudd honno yn aros heb hi *ymatgudd wrth ddarllen yr hen Testament, yr hon ‡yn-Christ a dynir ymaith. Eithyr ac yd y dydd heddyw pan ddarllen... Moysen, y dodir y llen-*gudd* ar ei calon*æ* wynt. ...r hyny pan ymchoeler *ei calon* at yr Arglwydd, ... nnir ymaith y llen-*gudd*. Weithian yr Arglwydd ...'r Yspryt, a' lle *mae* Ysprit yr Arglwydd, yno *ym*... rhydd*d*it. Eithyr edrych ydd ym ni oll megis *mewn drych ar 'ogoniant yr Arglwydd ac wynep ‡ymatgudd, ac in newidir *ni* ir vnryw ddelw, o 'ogoniant i 'ogoniant, megis y gan Yspryt yr Arglwydd.

* ond yr
‡ argraphu
* dremio
‡ ddivawyt, a ddarvu am dano
* gauogrwydd
‡ hyn
* ardderchawc, arbenic
‡ vawr
* ddiragrith
‡ llenn
* ddywedd
* dadguddio,
‡ didoi
* drwy wydr
‡ agoret

## Pen. iiij.

Mae ef yn datcan ei ddiyscaelusrwydd ai dalgrynrwydd yn ei swydd. A'r hyn oedd ei 'elynion yn ei gymryd yn ddielw iddo, sef, y ‡groc a'r travaelion yr ei y mae ef ei goddef, a droes ynteu yn 'elw mawr yddaw. Can ddangos pa vudd a ddaw o hyny.

‡ *groes*

*Yr Epistol ar ddydd .S. Matheu.*

AM hyny, can vot i ni y *gweinidogeth hynn, megis y cawsam drugaredd, nyd ym *ni* yn ‡llaesu: eithr ymwrthot a wnaetham a gorchuddiau coegedd, ac nyd rhodiaw *ydd ym* yn *hocced*us*, ac nyd ym yn ‡camdraethu gair Duw: eithr can eglurhau y gwirionedd ydd ym yn ymbrifio wrth cydwybot pop dyn yn-golwc Duw. Ac ad yw ein Euangel yn guddiedic, ir ei a

‡ gwasanaeth, swydd
* deffigio, lleddfu
* callinep, dilechtit
‡ ffalsau, siomi am

## Pen. vj

Dywti gwasanaeth ddynion tu ac at ei perchen, Yn erbyn yr ei nys *dygonir a gair Duw. Am wir dduwoldep, a' boddlondep meddwl, Yn erbyn cupydddot. Rhoi gorchymyn ar Timotheus.

* boddlonir

CYNIFER ac y'sydd o wasnaythwyr tann yr iau, barnant eu mei-tredd yn teilwng o bob anrrydedd, rrag cablu enw Duw ay addysc. A' rrei 'sy a meistred vddynt yn credu, na dystyrant hwynt, herwydd i bod yn vrodyr, eithr yn hytrach i gwasneuthu, ir mwyn i bod yn *credu, ac yn garedigion, ac yn gyfrannoc or twrn da. Dyse y pethau hyn, a' chynghora. Od oes yn dyscu yn amgenach, ac nad yw yn cyttuno ac iachus eirie eyn Arglwydd Iesu Christ, ac ir addysc, 'sy ar ol duwioliaeth, chwyddo i may heb wybod dim, eithr amhwyllo ynghylch questiwnay a ‡dadl-geiriau, or hyn i mae cenvigen, ymryson, *ym*senneu, *tybieu drwc. Ofer ddadlay dynion llygredig ey meddwl, wedy cyfergolli y gwir centhynt, yn tybiaid ‡taw elw yw duwioliaeth, ymochel oddiwrth y cyfryw. Elw mawr eusus yw duwiolieth, drwy ymvodloni o ddyn a'r hyn vo cantho. Can ys ni ddygasom ni ddim ir byd, *a' diogel yw ni allwn ddwyn dim ymaith.

* ffyddlon

‡ ymddadleu am airieu

* drygdybieu

‡ mae dywioldep yw elw

* ac yspys

Am hynny o cawn ymborth a dillad, ymfodlonwn ar hynny. Eithr yr ei a fynnent ymgwaythogi, a gwympant i *profedigaeth, ac i vagl*e*, ac i lawer o drachwantay ffolion a' niweidus, rrain syn boddi dynion i golledigaeth ac i ddistriw. Can ys ‡chwant-*mwnws yw gwreiddin pob drwg. Yr hein tra oyddynt rrei yn i chwenychu, hwy a *wyrasont or ffydd, ag ay ‡trychasont ey hunain *tryrrodd* a llawer o *g*ovidie. Eithr ti gwr *i* D*d*uw, gochel y pethay hyn, a' dilid ar ol cyfiawnder, duwiolaeth, ffydd, cariad, ymynedd, *a'* lledneisrwydd. Ymladd ymladdiad *gorchestol y ffydd: cymer afael ar y bowyd tragwyddawl, ir hwn hefyd ith alwyd, ac ir ‡ymaddewaist ymaddawiad da gar bron llawer o dystion. Dy *ddirofyn i ddwy gar bron Duw, syn bywhau pop peth, a gar bron Iesu Christ, rrwn tan Pontius Pylatus a dystiodd cyffes *pybur, cadw o honot y gorchymmyn *hwn* yn ddiflot, ac yn ddifai hyd ymddangosiad eyn Arglwydd Iesu Christ, rrwn yn y dyledus amser a ddengys ef, rrwn sy fendigedig ac vnic pennaeth, Brenin y Brenhinoedd, ac Arglwydd yr Arglwydd, Ir hwn yn vnic i may difar-

* tentation

‡ *Gr. philargyria* ariangarwch

* bath, mwnei

* gyfeiliornesont, aethont ar ddidro

‡ gwanasont

* tec, claer, prydverth, bybyr

‡ proffeseist broffess

* orchymyn

* deo

‡ ddivagul, ddivrych

woldeb, ac yn trigo yn y goleuni diymgyrch, rrwn irioed nis gweles *vn* dyn, ac nis dichin i weled, ir hwn i bo anrrydedd a' gallu yn dragwyddawl, Amen. Yr hei sy ‡oludawc yn y byd yma gorchymmyn vddynt, na boont rryfygus eu meddwl, ac na rothon ei, gobaith mewn *golud anwadal, eithyr mewn Duw byw, (rhwn syn rroi i ni pop peth yn ddigonawl yw mwynhau) ar wneuthyd o honyn ddaioni, ac ‡ymgyvoethogi o weithredoedd da, *ac* yn hawdd canthyn roi, ac yn *havvdd* i cydfod, yn storio yddynt i hunain sail da rag llaw, mal i gallont gavayly y bowydd tragwyddol. O Timotheus, cadw a roed attat, gan ochel *aniwaraidd ofersoniadwy, a gwrth-osodiaday cam-enwedig celfyddyd, rron rrai yn ymaddaw a hi, a *gam* wyrasont or ffydd. Gras gida thi, Amen.

‡ gyvoethogion

* cyvoeth

‡ *Gr. plouti in*

* aflan

Yr *Epistl* gynta i Tymotheus, a yscrifennwyd o laodiceia, rron yw penn dynas Phrygia Pacatiana.

---

# YR AIL EPISTOL I PAUL
## AD
# T I M O T H E U S.

### YR ARGVMENT

Yr Apostol yr awrhon yn parat y gadarnhau y ddysc ai waed, rhon a broffessai ef ac a ddyscesei yddynt, ys ydd yn rhoi cysir yn-Timotheus (ac wrtho yntef yr holl ffyddlonieit) yn ffydd yr Euangel, ac yn-goystatol a' phur goffess yr vnrryw: gan wyllysio yddaw nac ymellyngo rrac ofn blindereu, anyd yn ddyoddefus dysgwyl am y dyben, megis y gwna'r llavurwyr, yr ei o'r dywedd a dderbyniant ffrwytheu ei llavur, a' bot yddo vwrw ymaith oll ofn a' gofal, megis y gwna'r sawdwyr yr ei a gaisant yn vnig voddhau ei capten: gan ddangos yddo yn vyrsum yr Euangel, yr hon a bregethesei ef, gan 'orchymyn yddaw ef precethu'r vnryw y eraill, gan yddo yn ddiyscaelus ymogelyd rrac cynneueu, mangau ymddadleue, ac ymofynion moelion, er mwyn bot yw ddysceidaeth allu adeillad yn gwplach. Ac wrth ystyried esemple Hymenaius a' Philetus, yr ei a ddychwelesont y gwir ddysc am y cyfodiadegeth, ey bot mor *horibl: ac eto er mwyn na rhwystrit nep vrth y cwymp hwy, ac wynt yn wyr o awturtot ac mewn cymeriat, y mae ef yn dangos nad yw pawp 'sy y professo Christ, yn yddo ef, a' bot yr Eccles y dan yr advyt hyn 'sef bot yn ddir ir ei drwc drigo ymplith yr ei da, yn y ddel treiat Duw: er hyn y mae ef yn cadw yr ei a ddetholawdd ef, ys yd y dywedd. Ac val na byddei y Timotheus ancysirio y gan yr ei enwir, y mae ef yn declaro pa ryw ffiaidd ddynion, ac amsereu periclus a ddaw rhac llaw, gan ewyllysio yddo ymarvu a' gobaith y tervyn da y ddyry Duw ir ei yddaw, ac ymarver yn ddyval yn yr Scrythyrae, ys yn erbyn y gwrthnepwyr, ac er lles ir Eccles, gan ddeisyfu arnaw ddyvot ataw o bleit rryw negeseu angenraidiol, ac velly gan ynanerch yn y enw ehun eraill, y mae ef yn tervynu.

* *aruthrol, ddygas*

## Pen. j.

*W. S yr vn hwn, a'r ddau iso.*

Paul yn annog Timotheus y vod yn ddianwadal ac yn ddyoddefus wrth ei ymlid, a' pharhau yn yr athraweth y ddyscesei ef yddaw, 12 Dros yr ei yroedd y rwymeu ef a'i gystyddion ym wystl. 16 Cammolieth Onesiphorus.

PAUL Apostol Iesu Christ gan wyl'ys Duw,
erwydd addewyt ‡buchedd yr hon 'sy yn-Christ. (* bywyt)
Iesu.
2 At Timothes *vy* map caredic: Rat, a' thrugaredd,
*a'* thangneddyf y gan Ddyw y Tat, a' *chan* Iesu Christ
ein Arglwydd.
3 *Ys* diolchaf y Dduw, 'rhwn y wasanaethaf om
rrieni a chydwybot bur, can ys eb peidio y may genyf
gof am danat yn vy-gweddieu nos a' dydd,
4 Can ddeisyf*u* dy welet, *a'mi* yn vyvyr oth dda*i*grae,
val im llanwer o lawenydd:
5 Pan 'alwyf *im* cof y ddiffuant ffydd ys *ydd* ynot,
'rhon y drigawdd yn gyntaf yn dy ‡nain Lois, ac yn (‡ vam-gu)
dy vam Euneie, ac y may yn ddiogel genyf y *tric* yno
*tithe* hefyt.
6 Achos paam, ydd wyf ith coffau y gyffroi y dawn
Duw ys ydd ynot, wrth arddodiat vy-dwyaw.
7 Can na roddes Duw y ni yspryt ofn*usrvrydd*, anyd
*yspryt* *nerth*orvgrrvydd*, a' chariat, a' phwyllog- (* meddiant)
rwydd.
8 Am hyny na vydd arnat gywilydd ‡o destiol- (‡ am)
aeth yr Arglwydd, nac o hano vi*neu* y garcharawr ef:
eithr cydoddef-*di*-gystuddion yr Euangel, wrth veddiant
Duw,
9 Yr hwn an iachaodd, ac an galwodd a galwedigaeth
sanctaidd ny*d*, wrth ein gweithredoedd *ni*, anyd wrth y
*bwrpos yhun, a'*y* rat, 'rhwn a roespwyt y ni trwy (* arddodiat)
Christ Iesu cyn ‡amseroedd oeseu. (‡ bot y byt)
10 Eithyr ef a eglurwyt yr owrhon gan ymddang-
osiat ein Iachawdr Iesu Christ, yr hwn a ddileodd (* ddadwnaeth)
angeu, ac a dduc vywyt ac ac ammarwolaeth i 'olauni
trwy'r Euangel.
11 Ir hon im gosodwyt i yn precethwr, ac yn Apostol
ac *yn* ddyscyawdr y Cenedloedd.
12 Am yr hwn achos y ddyoddefaf hefyt y petheu
hyn, ac nyd oes arnaf giwilydd: can ys gwn pwy a
gredais, ac y mae yn ddilys genyf y vot ef yn abl
y gadw yr hyn a ddodais ataw erbyn y dydd hwnw. (* ffurf, cyffurf,
13 Cadw *wir esempl yr iachus ymadroddion, yr (gyndelw, ailun)

ei a glyweist y can y vi yn ffydd a' chariat *ys ydd*
yn-Christ Iesu.
14 Y ‡peth prydverth, y roed atat, cadw trwy'r ‡gwiwbeth
Yspryt glan, yr hwn a drig ynom.
15 *Ti* wyddost hyn, ddarvot ir ei oll ys *ydd* yn Asia,
droi o ywrthy vi: o'r sawl *rei* y mae Phygellus ac
Hermogenes.
16 Roed yr Arglwydd drugaredd y duy*lu* Onesipho-
rus: can ys ef yn vynych am llon*h*odd i, a'm catwyn
nyd oedd gywilydd ganthaw.
17 Eithyr pan oedd yn Ruuein, ef a *ym*caisiawdd *a*
*mi* yn ‡ddiwyd iawn, ac a*m* ca*f*as. * ddyval
18 *Roed yr Arglwydd yddo, gahel *o hano* dru- ‡ Caniataed
garedd gyd a'r Arglwydd yn y dydd hwnw, a' pha
veint betheu vu ef im gweni yn Ephesus, ti wyddost * niuer
yn 'oreu *vn*.

## Pen. ij

2 Y mae yn ei annog y vot yn ddianwadal yn-trwbl, ar yddo ddyoddef yn wrawl, ac aros yn ddiyscoc yn iachus ddysc ein Arglwydd Iesu Christ, 11 Can ddangos yddaw ffyddlondep amcan Dew yn-cylch cadwedigaech yr ei yddo ef, 19 A' noth yny.

TITHEU gan hyny, vy map, ymnertha yn y rrat ys
ydd yn-christ Iesu.
2 A'r petheu y glyweist y cenyf', *gan lawer o * ymgwydd,
testion, yr hein ‡a roddi at *ffyddlon ddynion, yr ei ymplith
vyddant abl y dyscu eraill hefyt. ‡ rho, rod * wyr ffyddlon
3 Ti*theu* gan hyny goddef-dy-‡'orthrymu megis ‡ ddrugu,
milwr da *i* Iesu Christ. helbulio
4 Nyd *oes* neb a ryvela, a ‡*ym*ymblyc a negeseu*on* * sawdiwr ‡ ymrwyda,
y vuchedd *hon*, er mwyn *bod* yddo ryngu bodd yr hwn ymdraffertha,
ydywysawdd yn vilwr. ymrwystra
5 Ac *ad* ymdrech nep hefyt am gamp, ny choronir ef,
dyeithr yddo ymdrech ‡yn ddeddfol. ‡ mal y dylei
6 *Dir yw ir llavurwr lavurio cyn nag yddaw * Raid
*dd*erbyn ffrwytheu.
7 Considera *y petheu* a ddywedaf: a'r Arglwydd a ‡ Ystyria
roddo yt' ddyall ym-pop dim.
8 Cofia *am* Iesu Christ *y hanoedd* o had Dauid,
ddarvot y gyvodi ef o veirw ‡wrth vy Euangel *i*. ‡ yn ol
9 Yn yr hon *ydd wyf yn dyoddef trwbl mal * im drygir
gweithredwr-drwc, *ys h*yd rwymeu: eithr gair Duw ny
rwymir.
10 Am hyny ydd wyf yn goddef pop peth, er mwyn

y *d*etholedigion, megis ac y gallent wy*theu* gaffael *yr* iechyd*erricth* ys ydd yn-Christ Iesu, y gyd a gogoniant tragyvythawl.

11 Gwir *yvv* gair, A's meirw ydym y gyd ac ef, y byddwn hefyt vyw gyd ac *ef*.

12 A's dyoddefwn, ni a gydeyrnaswn hefyt *ac ef*: ac a's *ym*wadwn *ac ef*, *yntef* hefyt a *ym*wad a ni*nheu*

13 A's ny*ni* ny chredwn, *er hyny* efe a erys yn ffyddlawn: ny 'all ef ‡y wadu y *h*un.

14 *Am* y petheu hyn dwc ar gof *yddynt*, a' thestial*aetha* ger bron yr Arglwydd, na bo yddynt ymrysont yncylch gairieu, *yr hyn* nyd *yw* er dim lles*aad*, *anyd* er **d*adymchwelyd ‡y gwrandwyr.

15 Studea ar dy 'osot dy *h*un yn *brovedic y Dduw, yn weithwr ‡diveyl, yn *vn*iawn-barthu gair y gwirionedd.

16 *Gommedd halog*ion* wag-airieu: can ys cynnyddu y wnant y vwy o anwywoldep.

17 A'y ymadrodd hwy a ysa val caner: *ac* o'r *cyfryvv* rei y mae Hymenaius ac Philetus.

18 Yr hein am y gwirionedd aethant ar ‡gyfeilorn, gan ddywedyt ddarvot eisus y cyvodiadigeth, ac y maent yn **d*adymchwel ffydd *rvyv*rei.

19 Eithr y mae ‡sail Duw yn sefyll yn *ddiogel, ac y mae yddo yr *in*sel hon, Yr Arglwydd a wyr *pvvy* rei ‡yw'r eiddo, ac, Ymadawet ywrth *ancyfiawnder pwy byn*ac* a 'alwo ar Enw Christ.

20 Eithr mewn tuy mawr ny bydd yn vnic llestri aur ac ariant, *and* hefyt *llestri* pren a' phridd, a'r ei *i anrydedd, a'r ei i ‡ddianrrydedd.

21 *As* neb gan hyny y carth y hunan ywrth *y petheu* hyn, efe vydd lestr i anrydedd, wedy ei sancteiddio, ac yn *addvwyn ir Arglwydd, ac yn ‡parat i bop gwaith*red* da.

22 *Fo hefyt rrac ‡chwanteu ieuntit, a' dilyn gyfiawnder, ffydd, cariat, *a'* *th*angneddyf, y gyd a'r ein y alwant ar yr Arglwydd o galon bur.

23 A' dod ymaith ynvyd ac andysccedig*aidd* *orchestion, can wybot mai ‡magu ymryson a wnant.

24 Eithr gwas yr Arglwydd dir yw nad ymrysono, amyn bot *yn dirion ‡i bawp, yn athrawaidd, *ac* yn dyoddef-ei-ddrygu *yn dda ei ortho.*

25 Gan ei *h*addysceu a' chymedroldep yr ei gwrth-

‡ ymwadu
* gwrthdroi
‡ yr ei a'i clywant
* gymradwy
‡ ny borraid cywilyddio
* Gobardd, Gwrthlaïd
* ddydro
* dinistro
‡ grwnd, gwndwal
* ffyrf, gadarn
‡ ys yddo
* andywoldep, enwiredd
* er
‡ er
* *Gr. euchreston*
‡ ddarparedic
* Cila
‡ gwynieu
* questione
‡ peri ymgeintach
*voneddigaidd, llednais
‡ tuar at

wynep-ei-meddwl, *y edrych* a roddo Duw vn amser
yddynt *vvy* ediveirwch, *i *gyf*adnabot y gwirionedd, * er
26 A' bod yddynt ddyvot ir iawn *allan* o vagl diavol,
yr ei a ‡ddelit ganthaw wrth ei wyllys. ‡ gaethiwit

## Pen. iij.

1 Prophwyto y mae ef o'r amsereu periclus, 2 Y mae yn amlygu r * hypocriteit y dan ei lliw ai harwydd. 12 Yn dangos cyflwr y Christianogion. 14 A' phy wedd ymogelir periclon. 16 Hefyt pa vudd a ddaw y wrth yr Scrythurae. * *ffuantwyr gausaint*

GWYBYDD hyn hefyt, ‡may yn y dyddieu dy- ‡ taw
wethaf y daw amsereu *periclus. * enbydus, blinion
2 Can ys bydd dynion ‡a'i serch arnyn y hunain, ‡ *Gr phiautoi*
*yn* cupyddion, *ym*ffrostwyr, *yn* veichion, *cablwyr, * ymsenwyr
yn anuvyddion yw ‡rrieni, *yn* andiolchgar, *yn* ansanct- ‡ tad a' mam
aidd,
3 ‡Digariat-naturiol ganthynt, yn tori-*dygym*b*ot, ‡ *Gr. 'astorgoi*
gaugyhuddwyr, *yn rei* antemperus, yn ffyrnyg*ion*, eb * cyngrair
serch ganthynt ir ci da,
4 Bradwyr, 'rei gwaydwyllt, rei ‡bolchwydd, rei yn ‡ bocsachus
caru chwantach yn vwy nac yn caru Duw,
5 A' chanthynt *gyfrith dywoldeb, eithyr ymwadu * ailun
a'ei 'rym a wnae*thon*t: tro ymaith gan hyny y wrth y
cyfryw *rei.*
6 Can o'r ei hyn y mae y sawl a ymluscant i dai*e*,
ac yn dwyn yn gaith wrageddos yn llwythoc o bechotae,
yn arweinedic gan amravael chwanteu,
7 *A'r gvvragedd hyn* ynt vyth yn dyscu, ac eb allu
byth dyvot y wybodaeth y gwirionedd.
8 Ac megis y gwrth safodd Iannes ac Iambres
Voysen, vel'y y mae yr ei hyn yn *gwrthddod y gwir- ‡ gwrthladd, gommedd
ionedd, dynion o veddwl llygredic, yn ‡amprovadwy ‡ gwliedic
*crwydd y ffydd. * am, tu ac at
9 Eithr ny vuddiant *vvy* mwy*ach:* can ys ei *h*yn-
vydrwydd vydd amlwg i bawp, megis ac y bu yr
eiddynt.
10 ¶ A' thi a lwyr adwaenost vy-dysc*eidaeth i*, hel-
hynt vy-buchedd, *vy*-purpos, ffydd, ammyned, cariat,
dioddefgarwch,
11 Ymlidiae, *a'* *gorthrymdereu yr ei y ‡ddaeth i * blindereu
mi yn Antiocheia, yn Iconium, ac yn Lystri, yr hyn ‡ ddarvu
ymlidiae a ddyoddefais: eithyr o ywrthynt oll im
gwaredawdd yr Arglwydd.

12 Ac ys pawp a'r wyllysont vyw yn ddywol
yn-Christ Iesu, a ymlidir.

‡ hudwyr, siomwyr

13 Eithr y drwc ddynion, a'r *twyllwyr aant waeth-
waeth, gan dwyllo, a' chael ei twyllo.
14 Eithyr aros ti yn y petheu a ddysceist, ac ith
sefydlir *ynthynt*, yn gwybot can bwy *ey* dysceist:

* oth vebyt

15 A' bot y ti wybot yr Scrythur*æ g*lan ‡er yn vap,
yr ei 'sy abl ith wneuthur yn-ddoeth i iechedwrieth
trwy'r ffydd ys ydd yn-Christ Iesu.
16 *Can ys* yr oll Scrythur *ys ydd* wedy ei rroddi can
ysprytoliaeth Duw, ac *ys ydd* profitiol y addyscu, y

‡ gospi

argyweddu, y *correctio, *ac* y roi athraweth yn-cyf-
iawnder,

* gwbl

17 Mal y bo dyn Duw yn ‡perfeith, wedy ei ber-
feithio i bop gweithred da.

## Pen. iiij.

Y mae ef yn annog Timotheus y vot y vrwd yn y gair, a' dyoddef gwrth-
pwyth, 6 Y mae yn gwneuthur coffa am ei varwolaeth ehun. Ac yn
erchi i Timotheus ddyvot ataw.

YS *gorchmynaf* yty gan hyny ger bron Duw, a'
*cher bron* yr Arglwydd Iesu Christ, yr hwn a

‡ ddyvodiat

vairn y byw a'r meirw yn ei ‡ymddangosiat, ac yn ei
deyrnas,

‡ ymrhyd ac amryd
* ys dwrdia

2 Precetha'r gair: tyn-rragot, yn amser ac allan o
amser: argyweddа, *cerydda, annoc drwy ammynedd-
da ac athraweth.

‡ llosei, merwino

3 Can ys e ddaw'r amser pryd na ddyoddefant
athraweth iach*us:* eithr aei clustieu ‡a chosi, wrth y
chwanteu y hunain a *ben*tyrant yddynt ddyscyawdwyr,
4 Ac a droant ei clustieu y wrth y gwirionedd, ac a
ymchwelant at chwedleu.

*Yr Epistol ar ddydd S. Luc.*

5 Eithyr gwilia di ym-pop dim: dyoddef-wrth
pwyth: gwna waith Euangelwr: par wybot yn ollawl
dy wenidogeth.

* datdodiat

6 Can ys ydd yw vi yr owrhon yn parat im offrymu,
ac amser vy *ymadawiat ys ydd yn agos.

‡ d..
* y rredecfa

7 *Mi* a ymdrechais ymdrech ‡tec, ac 'orphenais
*vy*-gyrfa, y ffydd a gedwais.
8 *Can's* rrac llaw y roddwyt y mi y gadw coron cyf-
iawnder, yr hon a rydd yr Arglwydd y barnwr cyfiawn

* Cais
* ar gais, yn ddiatrec
* gofleidio, braicheido

y mi yn y dydd hwnw: ac nyd y mi yn vnic, amyn ir
oll 'rei y garant y ymddangosiat ef.
9 *Brysia y ddyvot ataf ‡yn ebrwydd.
10 Can ys Demas am gadawdd, gan **ym*gary y byd

‡presennol, ac aeth ymaith y Thessalonica. Crescens ‡ yn awr
*aeth* i Galatia, Titus i Dalmatia.
11 Lucas yn vnic ys y gyd a mi. Cymmer Varc a'
dwc y gyd a thi: can ys buddiol yw ef y mi y weini*d-*
*ogeth*,
12 A' T*h*ichicus a *dd*aunonais i Ephesus.
13 Y *cochl a edewais i yn Troas y gyd a C*h*arpus, * coffr, llyfr
pan ddelych, dwc gyd a thi, a'r llyfreu, yn enwedic y
‡membranae. ‡ memrwn, parsmente
14 Alexander y gof-*copr a wnaeth i mi lawer o * elydn, efydd
ddrwc: talet yr Arglwydd yddo ‡erwydd ei weithred- ‡ yn ol
oedd,
15 Rac yr hwn ymgadw di*the* hefyt: cans ef a wrth-
*safodd ein precaeth*e* *ni* yn *ddir*vawr. * laddodd, ddododd
16 Yn vy atep cyntaf nyd oedd neb ‡*yn sefyll* gyd a ‡ yn cymorth
mi, eithr pawp am gadawsont: *mi atolygaf y Dduvv*
na *liwier y*dd*-wynt. * roer yn ei herbyn
17 Er hyny yr Arglwydd a safodd gyd a mi, ac am
nerthawdd, mal trywo vi y cwbl ‡cyflawnit i precth- ‡ adnabyddit
*iat*, ac mal y clywent yr oll Genetloedd, ac im gwared-
wyt o eneu y lleo.
18 A'r Arglwydd am gwared rrac pop gweith*red*
ddrwc, ac am caidw yw deyrnas nefawl: ir hwn *y bo*
*gogoniant yn oes*oedd* oeseu, Amen. * moliant
19 Anerch Prisca, ac Aquila, a' th*uy*l*vvuth* Onesi-
phorus.
20 Erastus a arosawdd yn-Corinthus: Trophinus a
edais yn-Miletum yn glaf.
21 Cais ddyvot cyn y gayaf. Eubulus ys ydd ith
anerch, ac P*h*udens, ac Linus, ac ‡Claudia, a'r oll ‡ Gwladus
vroder.
22 Yr Arglwydd Iesu Christ *a vo* y gyd ath yspryt.
Y rat *ef vo* gyd a chwi, *Amen*.

Yr ail *Epistol* a escrivenwyt o Ruuein ad Timotheus
yr E*pi*scop cyntaf y ddywyswyt i Eccles Ephesus,
pan 'osodit Paul yr ailwaith ger bron *y Caisar Nero. * *yr ymmerotr*

---

# EPISTOL PAUL
## AD
# T I T U S.

### YR ARGVMENT.

PAN adwyt Titus yn-Creta y 'orphen yr athroeth a ddechreuesei Paul,
Satan a cyffroawdd rei y sawl a geisient nyd yn vnic ymchwelyd llywod-

raeth yr Eccles, eithyr hefyt llygru yr * athraweth: can ys 'rei o ryfic a geisient ymsengi ‡ y vot yn Vugelydd: eraill, y dan líw Deddyf Moysen a dduceson y mewn lawer o * philorec. Yn erbyn y ddau ryw ddynion hyn y mae Paul yn arvu Titus: yn gyntaf gan ddyscu yddo pa ryw wenidogion a ddlei ef ei dewys, gan erchi yn bennaf y bot hwy yn wyr o ddysceideth iach er mwyn gallu o hanynt wrthladd y gwrthnebwyr, ac ym-plith petheu eraill y mae ef yn noti yr Iuddeon ir ei 'sy yn dody rryw sancteiddrwydd yn y vwydydd a' chyfryw ceremoniau o ddyallan, gan ddyscu yddynt pa yw gwir 'orchwyllion buchedd Christinus, a' pha ryw betheu a berthyn i alwedigeth pop dyn. Yn erbyn yr hyn a's cyferbynia neb neu vot eb vvydhau, e vyn ymoglyd rhagddo.

* *ddysc*
‡ *ynghyfrith Cyfraith*
* *over betheu*
* *gynneddfeu*

## Pen. j.

5 Y mae ef yn athrawy Titus o bleit llywodraeth yr Eccles. 7 Ordinhat a' swydd gwenidogion-Ecclesic. 12 Natur y Cretiait, ac am yr ei a heuent chwedleu Iuddewic, a' dychymygion dynion.

PAUL gwas Duw, ac Apostol Iesu Christ, *erwydd ffydd etholedigion Duw a' gwybodeth y gwirionedd, 'rhon 'sy ‡erwydd dywoldep,
2 Y dan'obaith *buchedd dragyvythawl rhon y ‡digelwydd Dduw ei gaddawodd, cyn *amseroedd oeseu:
3 Eithr ef a eglurhaodd ei 'air ‡yn y gwir amser*eu* drwy precethu, yr hyn a ymddiriedwyt i mi, wrth 'orchymyn Duw ein iachawd*ur*:
4 Ad Titus vy *anianol vap wrth y ffydd gyffredin, Rat, trugaredd a thangneddyf o y can Dduw y Tat, a' *chan* yr Arglwydd Iesu Christ ein iachawd*ur*.
5 Er mwyn hyn ith edais *di* yn-Creta, mal y bei y ti *drigo* y gywcirio y petheu ys *ydd* yn aros, a' bot yt' ‡'osot *Henafieit yn-pop dinas, megis yr ordiniais yty.
6 A's bydd nep *diargywedd, gwr vn wreic, ac yddo blant ffyddlon, yr ei nyd enllybir o ‡nwytiant neu vot yn anuvydd.
7 Can ys dir yw i E*pi*scop vot yn ddiargywedd, mal gor*u*chwiliwr Duw, nyd yn ‡gyrrith, ny*d yn* digllon, nyd yn *gor*hoffi gwin, nyd trawar, nyd budr-elw-wr,
8 Ethr yn rhoi-lletuy, vn yn caru dayoni, doeth, ‡cyfiawn, sanctaidd, temperus,
9 Yn dal*ha*-yn ‡lew y gair ffyddlon wrth yr athraweth, val y gallo hefyt gygcori a dysceideth iach*us*, ac argyweddu yr ei a wrth ddywedant,
10 Can ys bot llawer o rei anyvydd, a' gwacsiaradwyr, a' thwyllwyr meddilieu, yn ben*af yr ei '*sy* or enwaediat,
11 Yr ei vydd ‡dir goarcheu-ei geneu, yr ei a *dd*ymchwelant cwbl dai*e*, gan ddyscu i '*rei* betheu ny-ddylent, ermwyn budr elw.

* wrth
‡ ar ol
* bywyt
‡ ny all dywedyt celwyt
* dechreu byt
‡ ymrhyd
* naturiol gwir
‡ ordino
* *Presbyteros*
* dyvei adwy
‡ rwyf, dra, wtres, ormodedd, reiat
‡ anhydyn, gyndyn
‡ vnion
‡ ffest, 'lud
* ddivaddef
‡ rrait

12 *Vn o hanynt wy *euhunain*, *'sef* vn oi prophwyti y vnain a ddywedei. Y Creteit bop amser ‡*ynt* gel-wyddawc, dryg *vestviloedd, boliae ‡*gord*diog*ion*.
13 Y testiolaeth hon 'sy wir: achos hyn argywedda hwy yn *vlaen*llym, val y bont iach yn y ffydd,
14 Nyd can ddarbot chwedleu Iuddewaidd a' gor-chymyneu dynion, yr ei a ymchwelant ywrth y gwir-ionedd.
15 Ys ir ei pur y mae pop *dim yn pur, eithr ir ei halog*edig*, ac ir ei ‡ny chred, nyd oes dim pur, eithr ei meddwl a'i cydwybot a halogir
16 Y maent yn *proffessu yr adwaenant D*d*uw, eithyr ‡ar *g*weithrrdoedd y maent yn *ei* wadu, ac wynt yn ffiaidd ac yn anuvydd, ac i bop gwaith*red* d*d*a yn amprovadwy.

* Syganei vn. &c.
‡ '*sy*
* aniveilieit
‡ lluscenaidd, muscrell
* peth
‡ diffydd
* cy-
‡ a

## Pen. ij.

Y mae ef yn gorchymyn yddaw y ddysceidaeth iach, ac yn manegy yddaw pa wedd y dysc ef y bop gradd ymddwyn, 11 Trwy ddawnged rrat Christ.

EITHR adrodd di y petheu y weddant y ddysc iach*us*.
2 *Bot* yr henafgwyr yn *sobr, honest, diseml, iach yn y ffydd, yn-cariat, ac ammynedd:
3 Yr henafwragedd yr vnffynyt, eu bot ynghyfryw ymwreddiat ac a wedda i sancteiddrwydd, nyd gau gy-huddiait, nyd wedy ymroi i win lawer, *eithr* yn dyscu-ir-ei betheu honest,
4 Mal y gallont iawnsynhwyraw y gwragedd-ieainc, y garu ei gwyr, y garu ei plant.
5 *Bot* yn ddiseml, yn ddiwair, trigo gartref, yn dda *ac* yn ddarostyngedic yw gwyr, mal na chapler gair Duw.
6 Cygora wyr-ieuainc yr vn modd, ar vot yn ddiseml.
7 Vch pen pop dim *oll* dod dy hun yn esempl ‡o weithredoedd da **gyd* a dys*ceideth* anllygredic, *gyd* a phwyllogrwydd, *a'* c*h*yfandep,
8 Ac ymadrodd iach*us*, rhwn ny ellir ei veio, val y bo y hwn a safo yn erbyn, gywilyddio, eb ganthaw ddim am danochwi y dywedyt coeg*ni*.
9 Bot gwasanaethddynion yn ddarostyngedic yw ‡*h*arglwyddi, a'i boddhau ym-pop dim, nyd yn *gwrth-ddywedyt,
10 Nyd yn *trosgwyddo, eithr bod yddynt ddangos

* bwylloc, syberw, call
‡ am
* *mevvn*
‡ perchen meistreit
* ym-
‡ rroi, ne troi heibio, yscyflu

pop ffyddlondep, val yr addurnant ddysceidcth Duw ein
iachawdur ym-pop peth.
11 Can ys 'rat Duw y ddwe iechyt i bop dyn, a ym-
ddangosawdd,
12 Ac ys ydd in dyscu y ymwadu ac andywoldep, a'
* bwyllo ddi-seml chwanteu bydol, a' bot y ni vyw yn *sobr ac yn gyfiawn,
ac yn ddywiol yn y byt ‡cydrychiol.
‡ yma, ynawr 13 Gan edrych am yr 'obaith wynvydedic, ac ym-
* cadarn galluoc ddangosiat gogoniant y Duw *mawr a'n iachawdur
Iesu Christ,
14 Yr hwn y rroddes y hun y trosam, val in prynei
‡ Gr. catharise ‡ywrth oll enwiredd, a'n carthu y vot yn popul priawt
* Gr. zeloti n yddo yhun, yn *awyddus i weithredoedd da.
15 Adrodd y petheu hyn, ac annoc ac argywedda ac
oll awdurtot. Na vit y nep dy dremygu.

## Pen. iij.

1 Vvyddtot ir sawr a vo mewn awdurtot, 9 Y mae ef yn rrybuddio Titus y ymogelyd rrac questione ynvydion a' divudd, 12 Gan ddybenu wrth grybwyll am ryw negeseu'n ailltuawl, 15 Ac anerchion.

COFFHA yddynt vot yn ddarestyngedic ir Tywys-
ogaetheu ac Auturdotae, a' bot yn vvydd, ac yn
parat i bop gweithred da.
* ddywedont anair i 2 Na *chablant nep, na bot yn ymladdwyr, anyd
llednais, gan ddangos pop tiriondep i bop dyn.
3 Can ys ydd oeddem ninheu hefyd yn andoethion, yn
anuvydd, yn siomedic, yn gwasanaethu chwanteu ac
‡ La. volupta-tib ‡amryw wynieu, yn byw yn-drygioni a chenvigen, dy-
gasoc, yn casau eu gylydd.
* Gr. chrestotes ‡ philanthropia 4 Eithyr gwedy y *addvwynder a' ‡dyngarwch Duw
ein Iachawdur ymddangos,
5 Nyd o weithredredd cyfiawnder, a'r y wnaethem
* wrth, ar ol ‡ cadwodd ni, eithr *erwydd ei drugaredd yr ‡iachaodd ef nyni,
can 'olchiat yr adenedigeth, ac adnewyddiat yr Yspryt
glan,
* dywalltodd 6 Yr hwn a *ddineawdd ef arnom yn ehelaeth, trwy
Iesu Christ ein Iachawdur,
7 Val y bei y ni, gwedy ein cyfiawnhau gan y rat ef,
‡ ar ol gael yn gwneuthur yn etiveddion ‡erwydd gobaith
bywyt tragyvythawl.
8 Fyddlawn yw'r ymadrodd hyn, a'r petheu a wyll-
* sicrau ysiaf yty eu ffyrffhau, ar ir sawl a credant yn-Duw,
ymovalu y ddangos yn amlwc gweithredoedd da. Y
petheu y' sy yn dda ac yn profitiol y ddynion.

9 Eithr gwrthladd questione ynvydion, ac *i*achae, a' ‡ *Gr. machas, 'sef*
chynneneu *ac ymrysongerdd o bleit y Ddeddyf, can * ceintache
ys amprofitiol ynt a' gweigion.
10 ‡Gommedd y dyn *y vo* *heretic, gwedy vn*vvaith* ‡ Gwrthladd
neu ddoy*vvaith ei* rybudd*io*, * drwc opinionus
11 Gan wybot am y cyfryw, yddymchwelwyt, ai vot
yn pechu wedy ‡ varnu y cantho yhun*an*. ‡ ddamno
12 Pan *dd*anvonwyf Art*e*mas atat, *ai Tychicus, * neu
bydd astud y dddyvot ataf i Nicopolis: Can ys ‡yno y ‡ Gr. bernais, bwriadais
pwrpasais *g*ayafu.
13 **D*anvon Zenas y ‡Deddfwr, ac Apollos yn * Hebrwng
ddiwyd, val na bo arnynt eisieu dim. ‡ Cyfraithiwr
14 Discant hefyt yr ei *yddom* ni ddangos yn eglur
weithredoedd da er mwyniant*e* angenraidiol val na bont
yn anffrwythlawn.
15 Yr oll 'rei 'sy gyd a mi*vi*, ath anerchant. Anerch
yr ei an carant yn y ffydd. Rat gyd a chwi oll.
*Amen*

Ad Titus, y ddewysiwyt yn E*pi*scop cyntaf i Eccles y Cretieit, yr hwn escrivenwyt o Nicop*o*lis ym-Maccdonia.

---

# EPISTOL PAUL
AD
# P H I L E M O N.

### YR ARGVMENT.

Cyd bei i ragorieth Yspryt Paul ymddangos yn rhyvedd yn ei Epistolae eraill, er hyny y mae'r Epistol hwn yn testiolaeth mawr, ac yn eglurdep o hyny. Canys ympell y tuhwnt y i selder ei *ddevnydd, y mae ef yn ehedec megis pe ir nefoeddd, ac yn ymddiddan a dywiol rat a' mawrhydi. Onesimus gwas i Philemon a espeiliasei ei ‡arglwydd, ac a giliasei ymaith, yr hwn gwedy i Paul ei ennill i Christ, a ddanvonawdd drachefn at ei arglwydd, yn ddyfrifol yn creu am vaddeuant yddaw, 'sef ac argumentae tra thrymion yn provi dylet yn aill Christian ir llall, ac velly gan ymanerch y tervyna.

* *vater*
‡ *veistr*

## E P I S T O L P A U L
AD
## P H I L E M O N.

### Pen. j.

5 Y mae ef yn llawenychu glywet ffydd a' chariat Philemon, 9 Yr hwn y mae ef yn deisyfu arno vaddae yw was Onesimus, a'i dderbyn yn garedigawl drachefn.

PAUL carcharawr Iesu Christ, a'*n* brawd Timotheus,
at Philemon ein *caredic *gar*, a'n cydweithwr,
2 Ac at *ein* caredic *chvvaer* Apphia, ac at Archippus
ein cydvilwr, ac at yr Eccles ys ydd yn dy d*uy di:*
3 Rat y gyd a chwi, a' thangneddyf y can Dduw
Dat, a' *chan* yr Arglwydd Iesu Christ.
4 Diolvvch ydd wyf im Duw, gan dy gofio yn 'oys-
tadol yn vy-gweddieu,
5 (Wrth y mi glywet am dy gariat ath ffydd, yr
hon 'sy canyt ar yr Arglwydd Iesu, ac ar ei oll Sainct*æ*),
6 Mal y gwneler ‡cyfraniat dy ffydd yn *ffrwyth-
lawn, a' mal yr adwaener pa ddaioni pynac ys ydd
ynoch trwy Iesu Christ.
7 Can ys y mae genym lawenydd mawr a' *dy-
ddanwch yn dy gariat *ti*, can ys trwyo ti, vrawt, y
diddenir ‡caloneu y Sainct*æ*.
8 Erwydd paam, cyd bo mawr vy hyder yn-Christ y
orchymyn yty yr hyn 'sy *weddus.
9 *Er hyny* *o *ran* cariat gwell cenyf ‡atolwgy yty,
cyd bwyf val yr ytwyf, ys *ef* Paul *henvvr, ac owrhon
hefyt carcharor *er mvvyn* Iesu Christ.
10 Atolygaf yty dros vy map Onesimus, yr hwn a
‡genhedlais *i* yn y rrwymeu,
11 Yr hwn gynt a vu yty yn *amproffitiol, ‡amyn
yr awrhon *yn* profitiol y ti ac y min*heu*,
12 Yr hwn a *dd*anvonais drathefn: a' chymer di*theu*
**yntef*, 'sef vy ymyscaroedd *vy hun*,
13 Yr hwn ‡a wyllyswn i ei attal gyd a mi, mal troso
ti y bysei yddo vy-gweini *i* yn y rrwymeu yr Euangel.
14 Eithr eb *lavv* dy veddwl *di* ny wnawn i ddim mal
na byddei dy *ddaioni *di* megis ‡gan *angen, anyd o
‡vodd.
15 Efallei gan hyny y vyned ef ymaith dros amser,
mal yd erbynyt ef yn dragyvyth,
16 Nyd yr owrhon mal gwas*anaethvvr*, amyn uch-
law gwas*anaethvvr*, *'sef mal* brawd *yn* caredic, yn en-
wedic y mi: pa veint mwy y ti, ac yn y cnawt, ac yn
yr Arglwydd?
17 A's gan hyny y *tyby ‡yr *petheu* eiddom yn gy-
ffredin, *d*erbyn ef mal my*h*un.
18 A's gwnaeth ef eniwet yty, neu vot yn dy ddlet,
dod hyny *yn gyfrif* arna vi.
19 Mi Paul a scrivendodd hyn am llaw vy un: *mi*
a dalaf-y-pwyth, cyd na ddywedaf yty, ydd wyt yn
vy-dlet ys am dana ty vn.

* anwyl
‡ cyvaillt, cyd-sawdwr
‡ cyfundap, cymddeithas
* *Gr. euergos* hywaith, gwaithgar
* chonffort
‡ ymyscaroedd
* perthynasol
‡ er
* ervyn
‡ oedranus
‡ gefais, ennillais
* anvwyn anvuddiol
‡ eithr, anyd
* vo
‡ chwenychaswn
* ged, dwrn da
‡ o, rrac
* ddir, gympell, anvodd
‡ wyllys da
* cymery
‡ vi yn gydymaith
* gan, ddrwc

20 *Do, vrawt, mwynhawy vi *y ged* hyn gan-yt yn
yr Arglwydd: ‡dyhudda vy emyscaroedd yn yr
Arglwydd.
21 Gan ymddiriet yn dy vvydddot, yr escrivennais
atat, gan wybot y gwnai ys mwy nac a ddywedaf.
22 Eb law hyn hefyt paratoa i mi letuy: canys go-
beithaf trwy eich gweddieu im rroddir ychwy.
23 Y mae yn dy anerch Epaphras vy cydcarcharor
in-Christ Iesu,
24 Marc*us*, Aristarchus, Demas *a'* Luc*as*, vy-cyd
*weithwyr.
25 Rat ein Arglwydd Iesu Christ *vo* gyd a'ch yspryt,
Amen.

* Ie, Ac, Ys
‡ llonha, confforta
* ganhorthwywr

O Ruuein yr escrivenwyt ad Philemon, *ac a ddan-
vonvvyt* trwy *lavv* Onesimus was*anacthvvr*.

---

# YR EPISTOL

## AD YR

# E B R A I E I T.

### YR ARGVMENT.

YN gymeint a' bot llawer o Scriuenyddion, yn gystal yr ei Groec ar ei Llatin, yn testio, na vynei scrivenydd yr Epistol hwn ac am iawn achosion bot gwybot ei enw, peth afrait ynte i neb yw chwaith travaelu yn hyn o ddevnydd. A' chan vot Yspryt Duw yn awdur yddaw, nyd llai ddim ei awdurtot, er na wyddam ni a pha bin yr escrivenawdd ef hwn. Pa vn bynac ai Paul ytoedd (yr hyn nyd yw gyffelip) ai Luc, ai Barnabas, ai Clement, ai vn arall, y bwrpos pennaf ef oedd ddwyn yr Ebrait i gredu (wrth yr hyn enw y mae ef yn meddwl yn benaf yr ei oeddent yn aros yn-Caersalem, ac wrthyn.wytheu yr oll Iuddaeon eraill) nad oedd Christ Iesu yn vnic y prynawdr, eithr hefyt mae dir oedd wrth y ddyvodiat ef bot pen am yr oll *ceremoniae: yn gymeint a bot ei ‡athraweth ef yn ddyben yr oll prophetolaetheu, ac am hyny nyd Moysen yn vnic oedd yn is nac efe, anyd hefyt yr Angelion: can ys wyntwy oll oeddent y gweision, ac yntef yr Arglwydd, eithyr velly yn Arglwydd, mal y cymerth ef hefyt y cnawd ni, ac a wnaethpwyt yn vrawt yni er ein sicrau o'n iechydwrieth y trwyddaw ef yhun: can ys efe yw'r Offeiririat tragyvythawl hwnw, ir vn nyd oedd yr oll Offeirieit Leuitieit anyd gwascotae, ac am hyny ar y ddyvodiat ef bot yn rrait yddynt ys-peidtaw, a' *dileu pop aberth dros bechot, megis y mae ef yn provi o'r saithvet pen a'r ail wers ar ddec, yd y dauddecvet pen, a'r ddaunawuet wers. Hefyt efe oedd y Propwyt hwnw, am yr vn gynt y testient yr oll Prophwyti, megis y declarir or ddaddecuet pen, a'r ddaunawvet wers, yd y bempet wers ar vcain or vnryw ben: ac ys efe yw'r Brenhin ir hwn y mae pop peth yn ddarostyngedic, megis yr eglurir or wers hono 25. yd dechre y pen dywethaf. Erwydd paam yn ol esemplae yr hen dadae rhait yni oll gredu ynddo ef, val y bo dwedy ein sainoteiddo trwy y gyfiawuder ef, a'n dyscu y gan ei ddoethinep, a'n llywodraethu y gan ei veddiant, yni allu yn ddiyscoc, ac yn gyssurus barhau yd y dywedd

* *cynneddfau*
‡ *ddysc*
* *darvot am, na bai mvvy*

yn-gobaith y llawenydd hwnw y 'osodir ger bron ein llygait, gan ymarver yn-gorchwiliau Christianus, megis y gallom vot ac yn ddiolchgar y Dduw, a gwneuthur a ddylem in cymydawc.

## Pen. j.

*D. R. D. M. yr vn hwn at yr Ebraieit, y ddau i Petr, a'r vn i Iaco*

1 Dangos y mae ef ef rhagorvraint Christ, 4 Goruch yr Angelion, 7 Ac am y swydd hwy.

*Yr Epistol ar ddie Natalic*

DUW lawer gwaith a llawer modd gynt a ymddiddanodd ar tadau trwy'r prophwydi:
2 Y dyddic diwaythaf hynn ef ymddiddanodd, a nyni trwy eu Vab, rrwn a wnaeth ef yn etyvedd pop peth, trwyr hwn hefyd y gwnaeth ef y bydoedd,
3 Rrwn am yfod yn llewyrch y gogoniant, a *gvvirlun y berson ef, ac yn cynnal pop peth trwy eu air galluawg *ef*, wedy golchi eyn pechodeu ni trwyddo ef eu hun, a eysteddavdd ar ddeau-law y fowredd ef yn y *goruchelion,
4 Ac ef a wnaethbwyd o lawer yn well nor Angylion o gymyn ac y raeth ef ac enw sy yn dwyn rragor arnyntwy.
5 Can ys wrth pwy or angylion yrioed y dywod ef, Vy mab i ydwyt i, myvi heddiw ath enillais di? ac cilwaith, Myfy a fydd yn tad iddo ef, ac yntau fydd yn vab y mineu?
6 A' thrachefn pan ydyw yn dwyn eu vab cyntaf ir byd *hvvn*, y dowaid, Ac ai addolasont ef holl angylion Duw.
7 Ac am yr angylion yn wir y dowaid, Rrwn a wna eu cenadau o yspridion, ay wasanaythwyr o fflam dan.
8 Wrth y mab hagen *y dyvvait*, Dy ‡gadair di, Ddyw, yn oes oesoedd: teyrnwialen vnion teyrnwialen dy dyrnas di.
9 Ti a geraist wirionedd, ac a gasëist enwiredd; am hyny Dyw, ysef dy Ddyw di ath *enneyntiodd ac olew llywenydd ytuhwnt ith ‡cymedeithion.
10 A'c, Tydi yn y dechreuad, arglwydd, a *g*rowndwaleist y ddayar, ar nefoedd gwaith dy ddwylaw di ydynt.
11 Colli a wnant wy eythr tydi a crys: acy gyd oll heneiddio a wnant megis cadachay.
12 Ac megis gwisc y plygi di hwynt, ac a ymnewidiant: eythr tydi yr vn ydwyd, ath vlenyddoedd di ni *ddeffygiant.
13 Wrth pwy or angylion erioed y dywod ef, Eisteddd

* Gr. character tes hypostaseos
* lleoedd goruchaf
‡ dron
* eliawdd
‡ gyfeillion
* phallant

ar y llaw ddeau ym, hyd oni ddodwy dy clynion yn stol
ith traed?
14 Onid ysprydion gwasanaythgar y dynt wy oll, a
ddanfonir y wasanaenthu, ir mwyn y rray a fyddont
ytyveddion yr iechaid?

## Pen. ij.

1 Eiriol arnam y mae ef vot yn uvydd ir Ddeddyf newydd 'rhon a roes
Christ y ni, 9 Ac na rwystrer ni wrth wendit ac iselradd Christ, 10
Can vot yn angenreidiol yddo er ein mwyn ni gymeryd gyfryw ddi-
ystadl gyflwr arnaw, val y byddei gynhebic yw vroder.

AM hynny rraid yni yn ddysceulus ystirieth y pethau
a glowsom, mal na ollymgom ni hwynt vn amser
y lithro.
2 Can ys o bydday gadarn y gair a ddoydid trwy
Angelion, a derbyn o bob sarhaet, ac anufyddtod gyfion
talu pwyth,
3 Pa fodd y diangwn ni, od esceuluswn cyfryw *vavvr* * ddiogelwch
*gadwadigaeth? rrwn pan ddechreuwyd y arddangos
drwyr arglwydd y hun, a sickerhawyd y ni gan y rrai
a fu yn y wrandaw,
4 Duw yn cydtestlauthu, drwy arwyddion a rryvedd-
odau, ac ymravael rinweddau, a' rranniadau yr Yspryd
glan, ar ol y wyllys y hun.
5 Can ys nid ir engylion y darestyngodd ef y byd a
ddaw, rrwn y ddydym yn son am dano.
6 Eithr vn yn rryw fan a ddwg testioleth, gan
ddoydyd, Beth yw dyn, mal y meddyliech am dano?
neu vab dyn mal y darbyddech o honaw?
7 Ti ay gwnaythost ef ychydig yn is nor Angylion: * isach, isclach
a gogoniant ac vrddas y coronaist ef, ac ay gosodaist ef
goruwch gweithredoedd dy ddwylaw.
8 Pob peih a ddarostyngaisti tan y draed ef. Am
hyn, gan ddarostwng o hono bob peth yddo, ni adawodd
ef ddim heb y ddarostwng iddo. Eythr etto nid ydym
yn gweled pop peth yn ostyngedic yddo.
9 Eythr Iesu a welwn ni wedy y goroni a gogoniant
ac *vrddas, y neb a wnaythbwyd ychydic is nor ‡ anrydedd
angylion, herwydd dioddefaint marfolayth: mal y bay
yddo ef trwy ras Duw *brovi marfolayth dros bawb. * chwayddu
10 Can ys gweddus oedd yddo ef, herwydd pwy y
may pob peth, a thrw yr hwn y may pob peth, wrth
iddo ddwyn llawer o feibion y ogoniant, gysegru pen-
nadur y cadwadigaeth hwynt trwy 'ovydiau.
11 Can ys y neb a santeiddio, ar sawl a santeiddier,

or vn y maynt *y gyd* oll, or achos hwn ni vydd cwil-
yddus cantho y galw hwynt yn frodyr,
12 Can ddoydyd, Myvi a ddangosaf dy enw di ym
brodyr, ynghanol yr eglwys y canaf ymynnau yti.
13 A' thrachefn, Mi a ddodaf vy ymddiriaid yntho.
A' thrachefn, Wele vi, a'r plant a roddes Duw y mi.
14 Am hynny gan fod y plant yn gyfrannog o gig a
gwaed, yntau hevyd yr vn modd a wnaythbwyd yn
gyfranog or vnrryw, mal y gallai ef trwy farfolaeth
ddistrowiaw, y neb y doedd a llyvodrayth marfolayth
ar eu law, sef yw hwnw diawl.
15 Ac mal y gallay ef y ymwared hwynt *y gyd* oll,
rrain rrac ofn marfolaeth gwbl oi bowyd oyddynt tann
gaythiwed.
16 Nid angylion eusus a gymerawdd ef: eithyr epil
Abraham a gymerawdd ef.
17 Wrth hynny y dylai ef ymhob peth fod yn gy-
ffelib yw frodyr, mal y gallai fod yn drigaroc, ac yn
Archoffeiriat ffyddlawn am y pethau a berthynant y
* voddloni, voddhau Duw Dduw, y *ddiffoddi pechodau y bobl trwy fodloni
Duw.
tros
‡ ai demtio 18 Yn wir gan ddioddef o honaw, ‡a' bod profed-
* temtiedio igaeth arno: vo ddichon help yr rrai *bo profedigaeth
arnunt.

## Pen. iij.

1 Y mae ef yn erchy arnynt vot an uvydd i 'air Christ, 3 Yr hwn 'sy deilyngach na Moysen. 12 Poenedigeth y cyfryw ac a galedant ei caloneu, ac ny chredant, val y caffent 'orphoysfa dragyvythawl.

AM hyn, vymrodyr santeidd, cyfranog*ion* or galwed-
* Genadwri igaeth nefawl, ystyriwch yr *Abostol ac arch-
‡ proffess offeiriad eyn ‡cyffes *ni* Christ Iesu:
2 Ef fu ffyddlon yr neb ay gosodes ef, megis ac y bu
Moyses ynghwbl oi dy ef.
3 Cymynt yn wir rragor 'ogoniant tu hwnt y Voyses
‡ i hwn a hayddai hwn, ac y may mwy or vrddas ‡ir neb a
edyladawdd y ty, nog ir ty ‡*y hun*.
4 Can ys pob ty a edeilir trwy ryw vn, ar neb a
* adeiladodd *wnaeth pob peth, Duw ydiw.
5 A' Moses yn wir a fu ffyddlon ynghwbl oi dy ef,
megys gwas*aethvvr*, ir testelauthu y pethau y bydday
son am danyn rrac llaw.
6 Eythyr Christ megis mab, ar eu dy y hun, ty yr
‡ ymddiriet rwn ydym ni, os nyni a geidw ein ‡hyder a' gorhoffedd
ein gobaith yn gyfan hyd y diwedd.

7 Am hynny megis y dowaid yr yspryd glan,
Heddiw o gwrandewch i y ‡lais ef, ‡ llef
8 Na chaledwch ych calonau, megis yn *yr emryson, * y chwerwedd, anoc
ar ddull dydd y tentasiwn yn ‡y diffaith*vvch*. ‡ yr anialwch
9 Lle y tentiason ych tadan chwi fi, ym profason, ac
a welson fyngweithredoedd ddeugain mlynedd,
10 Am hynny y sorais wrth *genedleth honno, ac a * nasion
ddoydais, Y mayntw fyth yny myned ar gam yn eu
caloneu, ac nid adnabuont fy ffyrth i.
11 Ac velly y tyngais yn fynig*lloni*, Os caent wy
entrio ym esmwythdra *vi*.
12 Disgwiliwch *vym*rodyr, rrac bod vn amser yn neb
o honoch galon ddrwg, ac anffyddlon, y *beri* ymadel a
Dyw byw.
13 Eithyr cynghorwch bawb y gilidd beunyd, tra
elwer Y dydd heddiw, rrac i neb o honoch *ym*galedu
trwy dwyll pechawd.
14 Can ys cyfrannawg o grist eyn gwnaythbwyt ni,
os cadwn ni y dechreuad drwyr hwn eyn cynhelir y
fyny, yn gyfan hyd y dewedd.
15 Lle y doydir, Heddiw os gwrandewch i y lais
ef, na chaledwch ych caloneu, megis ac yn yr *ymryson. * annoc
16 Can ys rrai ‡ar ol gwrandaw, y hannogasont ‡ gwedy clywet
ef-y-ddigio, ac etto, nid pawb ar a ddoythan or Aylft
trwy Voyses.
17 Wrth pwy y bu ef sorredic ddeugain blynedd?
onid wrth y rrai a bechasai, rrain a gwympasai eu *cyrff * celanedd
yn y diffaeth*vvch*?
18 Wrth pwy y tyngodd na chaent wy entrio yw
'orphoysfa *ef*? onid wrth y rrai, nyd uvyddhaent?
19 Ac ydd ym yn gweled na allent wy entrio herwydd
angrrediniaeth.

## Pen. iiij.

2 Bot y gair eb ffydd yn anvuddiol. 3 Sabbath neu 'orphoysfa y Christianogion. 6 Poen yr ei ny chredant. 12 * Anian gair Duw. * *Natur*

OFNWN am hynny, rrac vnrryw amser trwy
wrthod addewid entrio yw orphwysfa ef, gael ar
neb o honochi foddybygu eu *ddiddymmu. * myned ei waith yn over
2 Can ys y ni pregethwyd yr Evengel mal vddyntwythe: eithr ni thykiodd vddynt wy y gair a glowid,
am nad oedd wedy eu gydwascu a ffydd yn y rrai ay
clywsont.
3 Nine yn wir y rrai a gredasom, sy yn entrio ir

orphoysfa, megis ac ydyvod ef wrth y llaill, Val *hyn* y
tyngais yn fynniclloni, Os caffant wy entrio ym gor-
* 'orphen gwplau — sswyffa: cyd bayr gwaith wedi y *berffeithio o amser
gosodiad growndwal y byd.
4 Can ys am y saithvet dydd mewn man y dyvawd
val hyn, Ac a orffwysawdd Dyw y seithfed tydd oddi-
wrth eu holl weith.
5 Ac yma drachefn, Os cant wy entrio i'm gor-
phwysfa.
6 Or achos hwn gan fod hyn wedi y adael yn ol,
vod rrai yn cael entrio y mewn, a' bod y rrai y
pregethwyd yn gynta vddynt, heb entrio herwydd
angrrediniaeth,
7 Trachefn may yn rraederfynn rryw ddydd, gan
ddoydyd trwy ddavydd Heddiw, ar ol cymaint o amser,
megis y doytbwyd, Heddiw o gwrandewch y lais ef, na
chaledwch ych caloneu.
* Iesu — 8 Can ys pe *Iosua fase wedi y dwyn hwyntw y
'orphoysfa ni sonniasai fe am ddydd arall ar ol hynny.
‡ *Sabbatismus.* — 9 Ac am hynny may *rryvv* ‡'orphwysfa wedi eu adael
yn ol y bobl Ddyw.
10 Can ys yr hwn a entriodd yw 'orphwysva, gor-
ffwyso a wnaeth hwnw oddiwrth y weithredoedd eu
hun, megis ac y *gorphoy savvdd* Dyw oddiwrth yr eiddo
yntau.
* 'orphwysfa hono — 11 Rown eyn bryd am hynny ar entrio ir *vnrryw
orffwysfa, rrac cwympo o neb ar ol yr vn siampl o an-
efyddtod.
‡ grymiol — 12 Can ys byw*iol* yw gair Dyw, a' ‡nerthol ei
waith, a' llymach nac vnrryw gleddau-daufiniog, ac
a gyrydd hyd at wahaniad yr enaid, a'r ysbryd, ar
cymalau, a'r mer, a' barnwr yw y meddyliau a' bwriadau
yr galon.
13 Ac nid oes *vn* creadur anamlwg yn y olwc ef:
eythr *bot* pob peth yn noeth ac egored yw lygaid ef, am
* may i ni a wnelom ac ef — y rrwn y *ddym ni yn son.
14 Gan fod am hynny y ni Archeffeiriad mawr, a
entriodd ir nefoedd *'sef* Iesu mab Dyw, daliwn *ein afel*
*ar* eyn proffes.
16 Can ys nid oes y ni archeffeiriad, rrwn nis dichon
gydoddau an gwendid ni, namyn a tentiwyd ym hob
peth yr vn modd, eithr yn ddibechawd.
‡ gadair, esteddva — 16 Am hynny awn yn hy*derus* at ‡dron y gras, *val*
* amserol, ymrhyd — y dderbyn*iom* trugaredd, ac y gael gras yn gymorth
*temhoraidd.

## Pen. v.

1 Y mae ef yn cyffelypu Iesu Christ *ac Offeiriait Leui, gan ddangos ym-pa peth y maent yn cytuno neu yn ancytuno. 11 Yn ol hyny y mae ef yn ‡ argyweddu yscaelustra yr Iuddaion.

CAN ys pob Archeffeiriad o blith dynyon y cymerir *ef*, a' thros dynion y gosodir ef, yn y pethau sy tu ac at Ddyw, y offrymmu a'rrodion ac aberthau tros pechodau,

2 Rrwn a *wyr yn gymesurol gydsynnio cyflwr yr *ei* ‡anghyfarwydd, ar neb sy ar gam, am y fod *yntau hevyd wedi y amgylchu a gwendid, * vedr ‡ anwydodol, a'r cyfeiliornus * ef y hun.

3 Ac ir mwyn hynny y dyly trostaw y hun yr vn modd a' thros *yddo 'r* bobl offrymmu tros pechodau.

4 Ac ni chymer neb yr *vrddas hyn yddo y hun ond y neb a fo Dyw, yn y alw, mal Aaron. * anrydedd

5 Velly Christ hevyd ni chymerawdd yddo yhun hyn o vrddas, y fod yn archeffeiriad, namyn yr hwn a ddyvod wrtho, Tydi yw fy mab i, heddiw yr enillais i dydi, *ei rhoes yddavv.*

6 Megis y may ef heuyd mewn man arall yn doydyd, Tydi effeiriad wyt yn dragwddawl, ar ol ordr Melchi-sedec.

7 Rrwn yn y dyddiau y gnawd ef a offerymmodd trwy levain a ‡dagre, weddiau ac ytolygon at yr hwn, ydoedd abl yw achub ef o ddiwrth farfolaeth, ac a wrandawyd y peth y roedd yn i ofni. ‡ deigre * gadw

8 A chyd bay ef Vab, er hyny ef a ddyscawdd vfydd-dot, erwydd y pethau a ddioddefawdd.

9 A' chwedi eu gysegru, ef a wnaythbwyd yn audur icchid tragwyddawl ir rrai a wrandewynt:

10 Wedi eu *gyf*enwi can Ddyw yn Archeffeiriad ar ol ordr Melchi-sedec.

11 Am yr rwn may y ni lawer yw ddoydet, sy an-hawdd y *manegi, achos ych bod chwi yn ‡fuscrell ych clustiau. * hadrodd, deongl ‡ bwl

12 Can ys lle y dyleychi herwydd amser fod yn athrawon, rraid yw drachefn ddyscu i chwi beth ydiw *deunyddiau dechreuad ymadroddion Dyw: ac aythoch yn rraid ywch wrth layth, ac nid bwyd ‡ffyrf. * gwyddorion ‡ dwys, cadarn, calet

13 Achos pawb a ymarfero a llaeth, anghynefin yw a gair y cyfiownder: can ys maban yw yw.

14 Eythyr y bwyd ffyrf a berthyn irei oedrannus, *sef yvv* ir rrai *herwydd cynefinder, sy a ysynhwyr wedi ymarver y ddosparthu *rrvvng* da a drwg. * cynefod

## Pen. vj.

**1 Y mae ef yn mynet rhacddaw yny argyweddu hwy, ac yn eiriol arnynt na ddefficiant, 12 Anyd bot dn ddianwadal ac yn ddioddefus, 18 Yn gymmeint a bot Dyw yn ddiogel yn ei addewit.**

OR achos hwn, rrown heibio yr addysc sy yn
*duger ni — dechrau Christ, a * thynnwn at perffeithrwydd,
‡ gan — ac na 'ossodwn eilwayth growndwal y difeirwch ‡ o
ddiwrth *g*weithredoedd meirwon, a' ffydd tu a Dyw.
* trochiadu — 2 O addysc y * bedyddiadau a' gosodiad dwylaw,
a' chyfodiad y meirw, a'r farn tragwyddawl.
3 A' hynny a wnawn ni os Dyw ai Cannihata.
4 Can ys amhossybl ir rrai a 'oleuwyd vnwaith, ac a
‡ 'orchwaydd-esant — ‡ brofasont * y rodd nefawl, ac a wnaythbwyt yn gyf-
rannawg or Yspryt glan,
* dr — ‡ meddianteu — 5 Ac a brofason *o* ddayonus air Dyw, a' ‡ rrinweddau
y byd a ddaw,
6 Os llwyrgwympant, adnewyddy trwy edifeirwch,
* crogi, croes-hoelo — gan y bod hwynt drachefn yn * rroi ar y groes vddynt
y hunain fab Dyw, ac yn y 'osod ar watwar.
‡ tir — 7 Can ys y ‡ ddaiar a *ddar*yfo y glaw a vo yn
mynych ddyvot arnei, ac a ddyco lyssiau addas ir rai
* diwyll — drwy bwy y ddys yn y * llafurio, a gymer fendith can
Ddyw.
‡ drysi, mieri — 8 Eithyr *hon* a ddyco ddrain ‡ ac yscall, * am-
* a vejr argyweddir — harchus *fydd*, a chyfagos y gael y ‡ melltigo, ai ddi-
‡ velltith — wedd *fydd* y llosci.
9 Eithyr *fyn*garedigion, coelio y ddydym am danoch
i bethau sy wel' no hyn, ac sy wedi y cydglymmu ac
iechid, ir yn bod ni yn doydyd val hyn.
10 Can ys nid anghyfion Dyw, mal y gollyngo tros
gof ych gwaith, a'r llafur*us* gariad, a ddangosasoch yn
y enw ef, yn gwneuthyr ir saint wasaneth, ac *eto* yn y
* gweini — * gwasneuthu.
11 A' chwenychu ddydym ddangos o bob vn o
honoch gyfriw ddiwdrwyd, ir mwyn sicerhau gobaith
hyd *y* diwedd,
‡ ddiog, anescud — 12 Val na bythoch ‡ fuscrell, eythr yn ddilynwyr
ir rrai, y sawl drwy ffydd ac ymynedd, sy yn meddiannu
yr addaweidion.
13 Cans Dyw wrth wneuthyr *yr* addewid y Abra-
ham, lle ni allai ef dyngu y neb a fai fwy, a dyngodd
yddo y hun,
14 Can ddoydyd, Yn wir mi ath fendithia yn helayth,
ac yn ddiandlawd yr amylhaa dydi.

15 Ac velly pan ydoedd dda i emynedd, ef a fedd-
iannodd yr addewid.
16 Can yn *lle g*wir dynion tyngu byddant ir neb a vo
mwy *nag ynhvvy hunain*, a' diwedd pob ymryson vdd-
yntwy ydiw llw y gadarnhau.
17 Velly Dyw yn chwenychu yn helaethach ddangos
y ytifeddion yr addewid ddianwadalwch y gyngor ef, a
ymrwymodd * trwy *roi* llw, * dan dwng gan lw
18 Megis trwy ddau beth disymmut, ‡ yn yr rrai y
may yn amhossibl y Ddyw fod yn gelwyddog, y gellem ‡ lle may
gael cysur cryf, rrain ydym yn daredec y ddala yn dynn
y gobaith rag-osodedic,
19 Rrwn sy cenym i, megis angor yr enaid, diogel a'
chyfan, ac yn entrio hyd at y peth sy tu vewn ir llen,
20 Ir man yr entriodd y rracflaynor trosomni, *'sef*
Iesu, a wnaythbwyd yn * ben effeiriad yn tragwyddol * *Gr. Arch.*
ar ol ordr Melchi-sedec.

## Pen. vij.

1 Y mae ef yn comparo Offeiriadeth Christ * a Melchi-sedec. 11 Hefyt * i
y mae ef yn cyffelypu Offeieriadeth Christ ir Leuitiet.

CAN ys y Melchisedec hwn brenin Salem ydoedd,
effeiriat Dyw goruchaf, rrwn a ddoeth y gyfarfod
ac Abraham, wrth yddo ddymchwelud o ddiwrth laddfa
yr brenhinoedd, ac ay bendi*gawdd ef: * thiawdd
2 Ac yddo efe y cyfrannawdd Abraham ddegwm o
bob peth: yn gynta yn wir wrth y ddeongl *yvv* brenin
y cyfiownder: wedi hynny hevyd brenin Salem, *y dyvv*
sef yw *hynny* brenhin heddwch,
3 Heb dad, heb vam, heb genedl, nid oes yddo na ‡ Yn ddi.
dechreu dyddiau, na diwedd einioes: eythr a gyfflybir
y vab Dyw, ac a erys yn effeiriad yn dragwyddawl.
4 Edrychwch cusus faint *oedd* hwn oedd Abraham y
pariarch yn rroi degwm iddo or yspail.
5 Ar rreini yn wir sy o feibion Levi, yn derbyn
*svvydd* yr effeiriadaeth, may centhynt orchymyn y
gymerud, degwn gan y bobl, ar ol y gyfraeth (sef yw
gan eu brodyr) ir y bod gwedi dyfod o lwynay Ab-
raham.
6 Eythr yr hwn ni hanoedd i genhedlayth o hon-
yntwy, a ‡ gymerawdd ddegwn gan Abraham, ac a fen- ‡ dderbyniodd
digawdd yr hwn y gwneithyd yr addewid yddo.
7 Ac yn ddiddadl y lleia, a * gymer-fendith can y * vendithir
mwyaf.

8 Ac yma dynion y rrai a fyddant feirw, a gymerant
ddegwm: eythr yno *y derbyn* yr hwn y testalcithir am
dano y fod ef yn vyw.
‡ val y mae 'r peth 9 Ac o ddoydyt ‡ felly, yn Abraham y talodd Levi
yntau hevyd ddegwm, rrwn ydoedd ar ol a chymeryd
degwm.
10 O blegyt eto yn llwynau eu dad *Abraham* rydoedd
ef, pan gyfarfu, Melchi-sedec ac Abraham.
11 Os ydoedd gan hynny perffeithrwydd trwy offeir-
iadaeth Leui (oblegid can honno y sikerhawdd y gyfraith
ir bobl) pam raid ymhellach no hynny, godi effeiriad
arall, ar ol ordr Melchi-sedec, nis gelwid ar ol ordr
Aaron?
12 O blegid yn wir wedi newidiaw yr effeiriadaeth,
rraid oedd fod newidiad ar y gyfraith hevyd.
13 O blegid am yr hwn y doydir hyn, ef a berthyn
y lwyth arall, or rrwn ni does neb yn gwasneuthu yr
allor.
14 Can ys ysbys yw, may o Iuda y may yn har-
glwydd *ni* yn dyvot, am y llwyth hwnw ni ddyvod
Moses ddim tu ac at yr effeiriadaeth.
15 Ac etto chwaneg o ysbysrwydd, gan godi effeiriad
arall ar ol cyfflybrwydd Melchi-sedec,
16 Rrwn nid wrth gyfraith y gorchymyn knowdol
y gwnaythbwyd *yn offeiriad*, eythr wrth power y
* antervynol, diddiwedd bowyd * didranc*edic*.
17 O blegid y may yn testlauthu *val hyn*, Tydi effeir-
iad *vryt* yn dragwyddol, ar ol ordr Melchi-sedec.
‡ *Gr. athetesis* y ddatdodwyt, ddirymiwyt 18 Can ys y gorchymyn oedd or blaen ‡ sy wedi y
symudo, am y fod yn * ddiffrwyth, ac yn ddibroffit,
* wan 19 Can ny wnaeth y gyfraith ddim perffeithrwydd,
namyn dyvodiad y gobaith gwell *a berffeithiodd*, drwy
yr hwn y ddym yn nesau at Ddyw.
20 Ac yn gimaint nas byddid heb lw (o blegid hwynt
wy o ddieythyr llw y gwnaythbwyd yn effeiriaid:
21 A' hwn, *efe a vrnaethpvryt* a llw gan yr hwn a
ddywod wrtho, Yr Arglwydd a dyngodd, ac ni bydd
edifar cantho, Ti ydwyt effeiriad yn dragwyddol, ar ol
ordr Melchi-sedec)
‡ Dygymot Ammot 22 Ar ‡ Destament gwell o aros hynny y gwnayth-
bwyt Iesu yn vach*niaeth*.
23 Ac wynt wy llawer o honyn a wnaid yn effeiriaid,
achos nas goddefay marfolaeth vddynt aros.
24 Eithyr hwn, am y fod ef yn perhau yn dragowydd,
may iddo ef effeiriadaeth tragwyddol.

25 Am hynny fe ddychin hefyt yn llwyr iachau yr
rai a ddawant at Ddyw trwyddo ef, gan y fod ef yn
byw fyth, y gyfrwng-weddiaw trostynt.
26 O blegid cyfryw Archoffeiriad oedd weddus y ni
y gael, *ysy* * santaidd, diddrwg, ‡ dilwgr, wedi y neilltuo oddiwrth pechaduriaet, ac wedy i wneuthur yn uwch nor nefoedd: * gwar ‡ anhalogedic
27 Yr rrwn nid *oedd* rraid yddo beunydd, megis ir
effeiriaid hyny: yn gynta trostynt y hunain offrymu
aberthau tros pechodau, wedi hynny tros *pechoteu* y
bobl: cans hynny a wnaeth ef vnwaith, pan offrym-
modd ef y hun.
28 Can ys y gyfraith sy yn gosod dynion yn arch-
offeiriaid, ac anallu arnynt: eithyr gair y * Llw yr hwn a vu gwedy y Gyfraith, *a vrna* y Map, yr hwn, a gys-
seerwyt yn dragyvyth. * Twng

## Pen. viij.

6 Y mae ef yn ‡ provi yn gystal ddarvot diley Offeiriadaeth y Leuiteit, a'r hen Ddygymbot y gan ysprytawl a' thravythawl Offeiriadeth Christ, 8 Ac wrth y Dygymbot newydd. ‡ pryfo

EITHR swm yr hyn a ddoytbwyd yw hyn, fod y ni
gyfriw archeffeiriad, rrwn a eistedd*arvdd* ar ddehau
tron y mawredd yn y nefoedd,
2 Gwasnaythwr y cyssegr*fa*, a'r gwir * dabernacl a
osodes yr Arglwydd, ac ni*d* dyn. * pebyll, lluest, tent
3 Can ys pob archeffeiriad a osodir y offrymmu
rrodion ac aberthau: ac am hyny y ddydoedd rraid,
bod can hwn hefyt beth yw offrwmu.
4 O blegid petfai ef ar y ddayar, ni byddei yn effeir-
iad chwaith, gan fod effeiriad sy yn offrymu rroddion ar
ol y Ddeddyf,
5 Rrain sy yn gwasneuthu portryad, a chysgod
pethau nefawl, megis or nefoedd yr attebwyd y Voyses,
pan oedd yn amcanu gorphen y tabernacl. Edrych
hagen, heb ef, ar wneuthyr o honoti bob peth ar ol y
‡ portryat a ddangoswyd yti yn y mynydd. ‡ cyscod, figur
6 Eithr yn awr ir ayth *yn archeffeiriad* ar a swydd
mwy rragorawl, o gimaint ac i may yn gyfryngwr
* Testament gwell, rrwn sy wedi y 'osod ar addaweidion
gwell. ‡ Ambot, dygymbot
7 O blegid yn wir ped fiase y *Testamen* cyntaf
hwnw yn ddifai, ni cheisiesid lle ir ail.
8 Can ys yn beio arnyntwy y dowaid ef ‡ Nycha ‡ Wele

y dawant y dyddieu, medd yr Arglwydd, pan 'or-
ffennwy fi a thy Israel, ac a thy Iuda Destament
newydd:

* Ambot

9 Nid ar ol y Testament a wneuthym i ay taday
hwynt, yn y dydd yr ymeilais i yn y llaw hwynt, yw
dwyn o dir ir Aipht: can ys ni thrigasont wy yn y
*Testament mau fi, a minau ay eskeulusais hwynt,
medd yr Arglwydd.

‡ Ambot

10 O blegid hwn yw yr *Testament a wnaf a thy
Israel, ar ol y dyddiau hynny, medd yr Arglwydd,
myvi a ddoda fyngyffreithiau yn eu meddwl, ac yn y
calonau yr yscrivenaf, a' mi a fydd y Dyw hwynt, ac
wyntwthe fyddant fymhobl inau,

* Ambot Dygymbot

11 Ac ni ddysc pop vn ei *gymydawc, a' phop vn
ey frawd, gan ddoydet, Ednebydd yr Arglwydd, o
blegid hwynt am ednabyddant i *y gyd* oll, or lleiaf o
hanynt hyd y mwyaf o honynt.

* gyfnesaf

12 Can ys mi fydda drigaroc wrth y enwiredd hwynt,
ac wrth eu pechodau ac ni wna coffa am eu enwiredd
hwynt mwy.
13 Lle may ef yn doyded *Testament* newydd, may
yn bwrw heibio yr hen, velly yr hyn a roir heibio ac
a heneiddio, may yn agos y ddiflanu.

## Pen. ix.

1 P'odd y dyléir ceremoniae ac ebyrth y Ddeddyf, 11 Can dra gyvytholdap a' pherffeithrwy ddaberth Christ.

AM hynny yn wir rydoedd hevyd ir *Testament*
cynta deddfawl grevydd, a' chyssegr*fa* bydawl.
2 O blegid y *Tabernacl oedd wedi y gwneuthyd y
gyntaf, yn yr hwn y roedd y canwyllbren, a'r bordd,
ar bara dangos, *rhvvn dabernacl* a elwid y lle sanctaidd.

* llust

3 Yn ol yr ail llen *yr oedd* y Tabernacl, 'rhwn a elwid
y ‡santeiddiaf oll,

‡ *Sancta sanctorum*

4 Llei roedd y senser aur, ac arch y Testament wedi
y goreuro oi hamgylch, yn yr hon *yr oedd* y krochan
aur ar manna yntho, a' gwialen Aaron, rron a vlagur-
asei, a thablay y Testament.
5 Ac uwch yr arch y Cherubym gogoneddus, yn
kysgodi y drigareddva: am yr rrain ni dawn ni yn
awr i son am danyn bob vn or neiltu.
6 Wedi gosod yr rrain mewn ordr y sut yma, ir
Tabernacl cynta yn wir y rai bop amser yr effeiriad, sy
yn gwasneuthu yr creuydd.

7 Ir ail yn wir y rai vnwaith bob blwyddyn yr arch-
effeiriad yn vnig, nid heb waed rrwn a offrymmay ef
trosto y hun, a thros anwybodacthe y bobl.
8 Yr ysbryd glan yn arddangos hyn, nad oedd y
ffordd ir cyssegrfa yn egored etto, tra vyddai y Taber-
nacl cynta yn sevyll,
9 Rrwn ydoedd ffygur tros yr amser *kydrychol, yn * presennol
yr hwn ir offrymmid rrodion ac aberthau rrai ni allen
‡lanhau, ar ran cydwybod, yr hwn a wasnaythe'r- ‡ sancteiddio
*crefydd, * gwasanaeth
10 Rrwn oedd wedy y 'osod yn vnic mewn bwydydd
a diodydd, ac amryw ‡drochiaday, a *Deddfay cnowdol, ‡ olchiaden
hyd oni ddelc amser y dywygiad. * cynneddfeu
11 Eythyr Christ yn dyfod yn archeffeiriad y dayoni *Yr Epistol y*
rrag llaw, trwy dabernacl fwy a' pherffeithiach, nid o *v. Sul yn y*
waith *dvvy* llaw, sef yw hynny nid or edeiladeth ‡yma, *Grawys.*
12 Nid chwaith trwy waed *geifr a lloi*au:* eithr ‡ hyn
trwy y waed y hun i raeth ef vn waith y mewn ir cys-
segr*fa*, ac a *gavas 'ollyngdod tragywyddol *yni.* * bwrcasodd
13 O blegid os gwaed teirw, a' geifr a lludw ‡heffr, ‡ anneir, treis-
wedi y danu ar y *llygredigion, a deilynga ar ran iad
puredd y knawd, * aflan
14 O ba vaint mwy, y pura gwaed Christ, rrwn trwy
yr Ysbryd tragowydd ay offrymmawdd ef y hun yn
*ddifai y Ddyw, ych cydwybod chwi, oddiwrth veirwon * ddivagul
weithredoedd, y wasneuthu Dyw byw? ddiargywedd
15 Ac am hynny y may ef yn gyfrwngwr, y Testa-
ment newydd, megis trwy farfolaeth rron oedd ir goll-
yngdod y camweddau *oeddent* tan y Testament cyntaf,
y derbyniay yr rrai oedd wedi eu galw, addewid yr
etyveddieth tragwyddawl.
16 O blegid lle bo Testament, rraid yw *digwyddo *Yr Epistol ar*
marfolaeth ‡y testamentwr. *ddie merchur*
*cyn y Pasc.*
17 Can ys or meirw y cayff y testament eu 'rymm: * bot
achos ni does nerth yntho tra vo byw y *testamentwr. ‡ yr hwn a
18 Ac wrth hynn ni ‡chysegrywdd y cyntaf heb wnaeth y tes-
waed. tament y
cymunwr
19 Can ys pan ddarffai i Voyses *draythur gor- * cymunwr
chymyn y gyd achlan ir holl bobl, ‡wrth y gyfraith, ‡ ordinwyt
ef gymerai waed lloi*au* a' geifr, cyd a gwlan pwrpwlac * lafaru, ddy-
ysop, ac ai taynellei ar y llyfr, a'r bobl oll, wedyd, adrodd
20 Gan ddoydyd, hwn yw gwaed y Testament, rrwn ‡ yn ol y
a orchmynawdd Dyw y chwi. gyfraith
21 Heb law hynny, taynellu hevyd awnay ef y
Tabernacl a holl llestri'r gwasanaeth a gwaed.

‡ hayach

22 A' phob peth *gan mwyaf ar ol y gyfraith trwy
waed y purir *hwynt*, ac heb ollwng gwaed nid oes
maddeuant.

* cyffelyp-iaetheu

23 Am hynny angenrreidiol ydoedd y ‡bortreiadau
y pethau sy yn y nefoed gael y puro ar pethau hyn:
y pethau nefawl y hunain *a burit* ac aberthay gwell nor
rrain.

* gyffelypiaeth

24 Can ys nid ir cyssegr*fa* o waith llaw ir aeth
Christ y mewn, rrwn sydd *bortreiad ir gwir *cyssegr:*
eithr *ef aeth* ir nefoedd y ymddangos yn awr yn golwc
Dyw trosom ni,

‡ arall

15 Ac nid yw offrymu y hun yn fynych, mal y may
yr archeffeiriad yn myned y mewn ir cyssegr*fa* bob
blwyddyn a chantho waed ‡dierth.

* yr oesen
‡ wyd
* ddileu, doddi

26 (O blegid velly y biase raid iddo ddiodde yn
fynych o ddechreuad y byd) eythr yn awr vnwaith yn
diwedd *y byd ir ymddangos‡es ef y ddif*l*annu pechod
trwy y aberthu y hunan.

17 Ac megis ac y gosoded hyn y ddynion farw vn-
waith, ac yn ol hynny *bot* barn,

28 Velly Christ hevyd a aberthwyt vnwaith y doddi
pechodeu llawer, yr ail waith heb ddim pechod ir ym-
ddengis ef ir rrai sy yn y ddisewyl, ir iechaid *yddynt.*

## Pen. x.

* 'lanhau

1 Nyd oedd ir hen Ddeddyf ddim meddiant i *garthu pechot 10 Eithr Christ ei gwnaeth gan aberthu ei gorph vnwaith dros y cwbl. 22 Eiriol ar dderbyn daioni Dyw yn ddiolchgar gan ddyoddefgarwch a' ffydd 'oystatol.

*Yr Epistol ar ddie gwener y croclith.*
* *Gr. eicon*
‡ 'lanhau

OBLEGID y gyfraith rron y may kenthi gyscawd
y pethay da a ddaw rrag llaw, ac nid *gwir-ddelw
y pethau, ni ddichin vyth ‡deilyngu y devodiaid drwy
yr vnrrywaberthay hyny, rrain y byddant o flwyddyn
bigilidd yn ystig yn y offrymu.

2 Pe na bai felly oni pheidiesent wy ac offrymu, am
na biase yn awr ddim cydwybod pechod o *ran y rrai
a offrymasent, ac a buresid hwynt vnwaith?

3 Eithr yn yr *aberthe* rreini y bydd bob blwyddyn
adcoffa pechodau.

‡ ddeley, doddi

4 Can ys ni ddichin gwaed teirw a' geifr ‡dynnu
ymaith pechodau.

* yr ordein-iaist vi

5 O achos pam ac ef yn dyvod ir byd, y dowaid,
Aberth ac offrwm nis mynaist: eythyr corph *a bar-
atoisti y myfi.

6 Abertheu poethion ac aberth *tros* bechawd ni bu
gymradwy cenyt.
7 Yno y doydais, Wele fi yn dyvot, (Y may yn
escrifennedig ym ‡ pen *cyntaf* yr llyfr am danaf) y ‡ dechreu
gwnafi dy wollys di, Ddyw.
8 Wedi yddo ddoydyt vchod, Aberth ac offrwm, a
phoeth-aberthay, ac offrwmay tros pechawd nis myn-
aist, ac nis derbyniaist, (rrain a offrymmir wrth y
gyfraith)
9 Yno y dywod ef, Wele fi yn dyfod y wneuthyr dy
wollys di, Ddyw, may y yn *tynnu ymaith yr cynta, ir * dodi heibio
mwyn gosod ‡ y diwaytha. ‡ yr ail
10 Drwy yr hwn wollys, y ddydym wedi yn sant-
eidio, *ys* trwy ‡ offrymiat Corff Iesu Christ *a vvnaed* ‡ aberthiat
vnwaith.
11 Am hyny pob effeiriad sy yn sefyll gar bron
beunydd *yn cyflownir-crevydd, ac yn offrymmu yn ‡ *Gr. leitur-*
fynych yr vn ‡ aberthau, rrain ni ddichin fyth dynnu *goon*
ymaith pechodau: ‡ offrymau
12 Eithr hwn yma gwedi darfod, yddo vnwaith
offrymmu aberth tros pechodau, yn dragwyddol sy yn
eistedd ar y llaw ddeau *i* D*d*yw,
13 Gan aros yr hyn sy yn ol, '*sef* hyd oni bo y elyn-
ion ef wedi y gwneithur yn faine yw draed ef.
14 Can ys ac ‡ vn offrwm y perffeithiodd ef yn ‡ vnic
dragwyddol y rrai sy wedi y santeiddio.
15 Testlaythy yn wir a wna yr ysbryd glan y ni
hevyd: can ys ar ol iddo ef ddoyded ymlaenllaw,
16 Hwn yw 'r *Testament rrwn a ammodafi ac wynt * Dygymbot,
ar ol y dyddiau hyny, medd yr Arglwydd, Myfi a' Ambot
osodaf fynghyfreithiau yn eu calonau, ac ay escrifena
yn y eu meddilau.
17 Ac y pechodau ay enwiredd hwynt nid atcoffaa
mwy,
18 Velly lle bo maddeuant y rrain, ni bydd mwy
offrwm tros pechawd.
19 Am hyn vrodyr, can fod y ni rydit y fyned y
mewn yr cyssegr drwy waed Iesu
20 Rryd y ffordd a gysegrodd ef yni yn newydd ac
yn fyw, trwyr llenn sef yw trwy y gnawd ef:
21 *A chan vod yni* * archoffeiriat, yn rreoli ty Ddyw, * offeiriat
22 Nesawn a chalon gowir a sicerwydd ffydd, wedi mawr
puro yn caloneu oddiwrth cydwybod drwg, a golchi ‡ bro
*ein* corff a dwr glan.

23 Cadwn ‡gyffes *ein* gobaith, yn ddianwadal (can
ys ffyddlon yw 'r hwn a addawodd)
24 A' chydystyriwn bawb y gilidd, herwydd annoc
cariad, a' gweithredoedd da,
* deithas
25 Ac na wrthodwn eyn cydgy*nulleidfa, megis y
may arfer rrai: eithr *ym*gynghorwn, a hynny yn fwy, o
aros ych bod yn gweled y dydd yn nesau.
26 Can ys os yn wyllysear y pechwn i ar ol derbyn
gwybodaeth y gwirionedd, ni does mwy aberth wedi y
adel tros bechode,
* arrwydus ofnus
‡ beidrwydd, digllon
* ddaw
27 Eithr * horribil ddisewyl barn, a' than‡drud, yr
hwn * a vydd y yssu'r gwrthnebwyr.
28 Yr hwn a dorho cyfraith Voyses yn ddidrigaredd
tann ddau, neu dri o dystion y gorfydd yddo farw.
‡ vysing
* sancteidd-iwyt
‡ vychano
29 Pa faint dybygwchi mwy dialedd y bernir hwnw
a ‡ sather tan draed fab Dyw, ac a farno yn anlan waed
y Testament, trwyr hwn y * teilyngwyd ef, ac a
‡ dremygo Yspryt y gras?
30 Can ys ni adoynom y neb a ddywedodd, Myfi
*pieu* dial*edd:* myfi a dal y pwyth, medd yr Arglwydd.
A' thrachefn, Yr Arglwydd a farna eu bobl.
* arswydus
‡ yn llaw
31 Peth * ofnus yw ewympo ‡ y law Dyw byw.
32 Gelwch bellach ich kof y dyddiau ayth heibiaw
yn yr rain, wedi ywch dderbyn goleuni y goddefasoch
vrwydr mawr ac adfyd*au*,
* vysdrych,
‡ vugelrres
33 Tra ddygid chwi allan weithiau trwy wradwyddeu
a gorthrymdereu, y fod yn * ddrych*ioleth*, weithiau yn
wir tra wnelid chwi yn gymedeithion ir rrai a fyddynt
yn ymdrino sut hwnw.
34 Can ys am fy rrwymay y roydd ych yn cydolurio
a mi, ac a gymerasoch yn llawen yspeil*fa* ych da, megis
rrai a wydday fod ywch ynoch ychun *g*olud gwell, sy
yn y nefoedd, ac yn parhau.
* ymddiriet
35 Am hynny na fwriwch y ffordd ych * hyder sy
fawr eu *g*obr*vvy*.
36 Can ys rraid ydyw y chwi wrth ymynedd, mal y
galloch wedy darffo ywch wneuthyr wollys Dyw, dder-
byn yr addewid.
37 O blegid etto ychydigyn *bychan* bach, ac fo ddaw
yr hwn sy yn dyvod, ac ni thrig.
38 Sef y kyfion trwy ffydd y bydd byw, eithr o kilia
neb, yr enaid mau*vi* ni bydd bodlon iddo.
* lled-tynu
39 Eithr ni dydym ni rrai sy yn ‡ cilio y golledig-
aeth, namyn sy yn credu herwydd cadwadigaeth yr enaid.

## Pen. xj.

1 Pa yw ffydd, a chanmolieth yr vnryw. 9 Eb ffydd ny allwn ni rengu bodd Dyw. 16 Dwys grediniaeth y tateu yn y cynvyt.

FFYDD yn wir, yw *ffyrfder y pethau a obeithir, ac egluriat ar y pethau nis gwelir.
2 O blegid trwyddi hi yr enillason yr henafiaid
air da.
3 Wrth ffydd y ddym yn dyall wneuthyr y byd trwy
'air Dyw, ac nid o ddim ar oedd yn ymddangos y
gwnaythbwyd y pethau y ddym yn y gweled.
4 Drwy ffydd ir offrymmodd Abel y Ddyw aberth
‡vwy no Chayn, trwy'r hon yr enillodd dyst y fod yn
gyfion, Dyw yn testlauthn am y roddion ef, a' thrwyr
*ffydd* hon wedi marw, y may etto yn ymddiddan.
5 Trwy ffydd y cymerwyt Enoch ymaith, rrag
gweled ange: ac ni chad ef: am ddarfod y Ddyw y
gymeryd ef ymaith: eithr cyn y gymeryd ef ymaith, ef
a gowser gair, y fod yn bodloni Dyw.
6 Eithr heb ffydd ni ellir y fodloni *ef:* o blegid credu
sydd rraid ir neb a ddel at Ddyw, y fod ef, ay fod yn
'obrwywr irrai a ymgais ac ef.
7 Noe wedi y Ddyw y rebuddio am y pethau nis
gwelsid etto, yn llawn o *referens, a ddarparhaodd
long y achub eu deulu, trwy'r hon *long* y barnodd ef ar
y byd, ac a wnaythbwyd yn ytifedd ir cyfiawnder sy o
ffydd.
8 Drwy ffydd gwedi galw Abraham, yr vfyddhaodd
*y Ddyvv*, y fyned ir man, a gay ef ryw amser yn tretad,
ac ayth y ffordd, heb wybod y ble y roedd yn myned.
9 Trwy ffydd yr arosawdd ef yn tir yr addewid, megis
yn lle dierth, ac y trigodd mewn lluestai gidag Isaac ac
Iaco, cydytifeddion yr vn rryw addewid.
10 Can ys disewyl y rydoedd am ddinas ac iddi sail,
Saer ac edyladwr yr hon, *yvv* Dyw.
11 Trwy ffydd Sara hithau a dderbyniodd nerth y
ymddwyn had, ac a hiliodd wedi amser oedran, am y
bod hi yn barnu yn ffyddlon yr hwn addowsay.
12 Ac herwydd hynny o vn a hwnw yn awr wedi
marweiddio y ganed *epil, cynniuer* a ser yr wybr mewn
rrifedi, ac megis y tyvot aneirif ar 'lann y mor.
13 Mewn ffydd y bu farw y rrain oll, heb dderbyn
yr addaweidion, eithr o bell y gweled hwynt, ai credu,
ay cymeryd hwynt yn ddiolchys, a chyfaddef y bod yn
bererinion ac yn ddieithred ar y ddayar.

* *Gr. hypostasis, ousia,* gosail, drychiat, hanvot

‡ amplach

* barch

‡ ydd elei

14 Can ys y rai 'sy yn doydyt hyn, ysbys yw y bod
hwynt yn keisio gwlad.
15 Pe biasentwy fyddylgar am *vlad* y doythant y
hamdden — maes o hani, hwynt a gowson *amser y ddymchwelyd.
16 Eithyr yn awr *gvlad 'sy* well y mayntwy yn y
chwenychu, sef yw nefawl: achos pam nid quilidd can
Ddyw y bun y alw y Dyw hwyntwy, o blegid paratoi
a wnaeth ef ddinas yddynt.
17 Trwy ffydd yr offrymodd Abraham Isaac, pan fu
braw arno, ay vn mab a offrymodd yr hwn a dderbyn-
iase yr addaweidion.
18 (Wrth yr hwn y doydesid, Yn Isaac y gelwir y ti
‡ hil, epil — ‡ had)
19 Ystyrio a wnaeth ef y galle Ddyw *y* gyfodi *ef* o
feirw: or lle y derbyniawdd e fe hefyt ar ryw gyfflyb-
rwydd.
20 Trwy ffydd y bendithiawdd Isaac *ei vap* Iaco ac
Esau, am y pethe a ddele rrag llaw.
* bendithiodd — 21 Trwy ffydd pan oedd Iaco yn marw, y *rroes
fendith y bob vn o veibion Ioseph, ac *ai bvcys* ar ben
eu ffon, yr addolawdd *ef Ddyw.*
22 Trwy ffydd pan oedd Ioseph yn marw, y coffaodd
am ymadawiad plant Israel, ac a roes 'orchymyn am eu
escyrn.
23 Trwy ffydd pan aned Moses, y cuddiwyd ef dri-
mis can eu rieni, achos y bod yn y weled yn fachcen
tlws, ac nid ofnesont orchymyn y brenin.
‡ *Gr. megas* — 24 Trwy ffydd Moses gwedi mynd yn ‡ fawr, a wrth-
odes y alw yn vab merch Pharao,
25 Yn ddewisach cantho 'oddef adfyd gid a phobl
* hyfrydwch — Ddyw, no chael * mwyniant pechawd tros amser,
26 Yn barnu yn fwy golud dirmig Christ no thresawr
yr Aifft *eryr:* can ys edrych y ddoedd ef ar taledigaeth
y gobrwy.
27 Trwy ffydd y gadewis ef yr Aifft, heb ofni
ffromder y brenin: cyfryw ydoedd y emynedd ef, a phe
biase ef yn gweled y neb sydd anweledig.
28 Trwy ffydd y gwnaeth ef y pasc, a gollyngiad y
gwaed, rrac ir hwn ydoedd yn dianyddu y genedigon
cynta, gyfwrdd ac wynt.
29 Trwy ffydd yr aythont trwyr mor coch megis
trwyr *tir* sych, rrwn pan brovasont yr Aifftied wneuthr,
boddi a wnaythont.
30 Trwy ffydd y cwympasont cayray Iericho wedi y
compasu hyd saith diwrnod.

31 Trwy ffydd ni *ddihenyddwyd Ra*h*ab y puttain * chollwyt, ddarvu am
gidar rrai ni buon vfydd, pan dderbyniodd hi yr espiwyr
yn heddychol.
32 A pheth mwy a ddoydaf? can ys yr amser a
ddyffygiay y mi y fenegi am Gedeon, am Barac a'
Samson, a' Iephte, am ddafydd hevyd, a' Samuel, a'r
prophwydi:
33 Rrain trwy ffydd a orescynasont tyrnasoedd, a
wnaythant gyfiownder, a freiniasont yr addeweidion, a
stopiason safnau'r llewod,
34 A ddiffoddason ‡angerth y tan, a ddianghason ‡ nerth
rrac miny cleddyf, o wendid a ymnerthasawnt, ac aython
yn ddewrion yn y frwydr, ag a ddymchwelasont ar gil
vyddinay yr estronion.
35 Gwragedd a *dd*erbyniasont eu meirw gwedi eu
codi yn fyw eilwaith: eraill a ddirdynnwyd, heb vynnu
ei ymwared, fal y gallentwy gael ailgyfodiat a fai well,
36 Ac eraill a gaynt y profi trwy watwaray ac ys-
cyrsiau, ie trwy rwymay a' charchary.
37 Y llabuddio a gowson, y *dryllio a wnaed, y * tryehu
tentio a wnaed, o angayr cledddef y buon feirw, crwydro
y buon mewn crwyn defaid a geifr, yn ddiddym, a chael
gorthrymder, a ‡bod yn ddrwc wrthynt: ‡ *Gr. cacochu-menoi*
38 Rrain ni haydder byd eu cael: crwydro yr
oeddent yn y diffaythay ac yn y mynyddoedd, mewn
*tyllay, a gogofydd y ddayar. * ffayeu
39 Ar rrain y gydoll wedi heuddu testioleth trwy
ffydd, ni ‡freiniasont yr addewid, ‡ dderbyn-iesont
40 Dyw yn rragweled peth gwell am danomi, val
na theilyngid hwynt heibom ninay.

## Pen. xij.

1 Annogeth y vot yn ddyoddefus ac yn ddianwadal mewn trwbl ac advyt, ar 'obaith cael gwobr tragybythawl. 25 *Cymendawt y Testament newydd uchlaw yr hen. * *Canmoliaeth*

OBLEGID hynny, ninay hevyd can fod kimaint
kwmwl testion wedi yn amgylchu ni, bwriwn
heibio bob trymfaych, ar pechawd sy barawd i hyny yn
amgylch: rredwn yn 'oddefus yr yrfa a osoded y ni
2 Gan edrych ar Iesu *pen twyog a gorphenwr yn * *Gr. arch-*
ffydd ni, rwn ‡yn l'e llywenydd a osodid yddo, a ddi- ‡ gan, obleit
oddefodd y *groes, ‡heb prisio ar y dirmig, ac a eis- * groe
teddawdd ar y llaw ddeau y eisteddfa Dyw. ‡ a ddirmygedd y cywilydd
3 Ystyriwch am hynny pwy ydiw r *neb a ddioddef- * hwn

awdd gyfriw ddoydet yn eu erbyn can pechadurraid,
rrag ych blino wedi deffygio yn ych meddyliay:
‡ ymdrech, ymwan — 4 Ni wrthladdosochi etto hyd at waed, yn ‡ymryson
yn erbyn pechawd.
* dyhuddiant — 5 A gollwngesoch tros co y *cyngor, y sy yn y
ddoyded wrthych megis wrth plant, Vy mab, nac
‡ ddeffigia, ymellwrg — eskulusa cospedigaeth yr Arglwydd, ac na ‡laysa pan
gerydder di gantho.
* yr hwn — 6 Can ys *y neb a garo yr arglwydd, ef ay cospa:
ac a skwrsio a wna ef pop map a *dd*erbynio.
7 Os goddefwchi gospedigaeth, megis y feibion y
‡ yw — may Dyw yn ymgynig ywch: can ys pa fab ‡fydd nas
cospo eu dad ef?
* hyn — 8 Eithr os heb gospedigaeth yddych, o'r *hon y may
‡ o ordderch, llwyn a' pherth, bastardieit — pawb yn gyfrannog, gan hynny meibion ‡aill ydych ac
nid meibion *o briod.*
9 Heb law hynny taday yn kyrff ni, cael a wneym yn
cospi canthynt wy, ay perchy a wnaythom: onid mwy
o lawer y may y ni ymostwng i dad yr yspryday, a
chael byw?
10 Can ys hwyntw yn wir tros ychydig ddyddiau an
* efe — cospay ni val y bay dda canthynt: eithr ‡hwn *an copai*
ir lles y ni, ir mwyn y ni cael cyfran oy santeid-
rwydd ef.
11 Nid chwaith hyfrydwch y gedir pob rryw cosp-
‡ cynnyrch, cydrychioldep — edigaeth tros *yr amser cydrychol, eithr anhyfrydwch:
etto wedi hynny, heddychol ffrwyth cyfiownder a ddyry,
ir rrai a font yn arferol a hi.
12 Or achos pam derchefwch *eich* dwylaw ys wedy
llaysu, ar gliniay gwenion.
13 A gwnewch lwybray vnion ich traed, rrac mynd
yr hyn *'sy* glof, oddiar y ffordd, namyn yn hytrach
iachaer ef.
* Dilynwch, canlynwch — 14 *Dilydwch heddwch *gyd* a phawb, a' santeidd-
rwydd, heb yr hwn ni wyl neb yr Arglwydd.
15 Disgwilwch, rrag deffygio o neb oddiwrth *g*ras
‡ bla- — Dyw: rrac ‡ braguro o ryw wreiddin chwerwder y *beri*
* halogi — aflonyddwch *ywch,* a thrwy hwnw *llygru llawer.
‡ aflan — 16 Na fid yn putteiniwr, neu ‡anlan megis Esau,
rrwn am ddryll o fwyd a werthodd fraint eu enedig-
aech.
17 Can ys chwi a wyddoch mal wedi hynny hevyd
pan fynase ef gael y fendith trwy dretadawl gyfraith, y
gwrthodwyd ef: o blegid ni chafos ef gyfle y edifeirwch,
* ddaigre — ir y fod trwy *ddagre yn keisio *yr fendith hono.*

18 O blegid nid at y mynydd teimledig, y nesayasoch,
ar tan poeth, ar cwmwl ar tywollwg, ar dymestl.
19 ‡ A' sain y corn, a' llef y geiriau, rrhon yr rai ay ‡ Na
clowsant, a ymyscusodason, ir mwyn na ddoydid y gair
wrthyntw mwy.
20 (O blegid ni ellyntwy odde yr hyn y roiddid yn y
orchymyn, pe rron y 'nifail a chyfwrdd ar mynydd, y
labyddio a wneir, neu y frathu trwyddo a gwayw:
21 Ac mor aruthr ydoedd y golwg oedd yn ymddangos,
ac y dyvod Moses, Y ddwy yn ofni ac yn crynnu.)
22 Eithyr nesau a wnaythoch at fynydd Syon, a
dinas y Dyw byw, Caerselem nefawl, a chwmpeini
* milfrydd o angylion, * myrddion, aneirif
23 A' chynilleidfa y blaen anedig*olion*, rrain a ys-
crifenwyd yn y nefoedd, a Dyw browdr ‡ pob peth, ac ‡ pawp, oll
yspryday yr rrai cyfion perffeith,
24 Ac at Aesu cyfrwngwr y Testament newydd, ac
at waed y taynelliad, sy yn doydyt pethau gwell * no * nog vn
*gvvaed* Abel.
25 Edrychwch nad eskeulusoch ‡ y neb sy yn doy- ‡ yr hwn
dyt: o blegid os hwyntw ni ddianghasont rrain ay
gwrthwynebasant ef, y doedd yn doydyt ar y ddayar:
mwya oll *nas diangvvn* ni, os * gwrthnebwn ‡ y neb sydd * trown ywrth
yn *doydyd* or nefoedd. ‡ yr hwn
26 Lef yr hwn a yscydwodd y ddayar, yn awr hagen
rrybuddio a wnaeth, gan ddoydyt, Etto vnwaith yr
yscydwa, nid yn vnig y ddayar, eithyr y nefoedd hevyd.
27 Yr Etto vnwaith hynny, sy yn arwyddocau treigl-
ad y pethau ansafadwy, megis *gwaith llavv* val y trico
y pethau safadwy,
28 Am hynny gan yn bod ni yn cymered attom tyrnas,
ni ellir y scydwyd, ymaylwn yn y gras, drwyr hwn y
gallom wasneuthy Dyw, yn y modd ac y bo bodlon
cantho, trwy barch ac ofn-crefyddus.
29 O blegid yn Dyw ni *ys*-tan * trauledig yw. * yn ysu, yn difa.

## Pen. xiij.

1 Y mae ef yn ein anot i gariat, 2 I gadw tuy ir tlodion, 3 I veddwl am gyfryw rei ac a vont mewn advyt. 4 Ar ddal gyd a phriodas. 5 Ar ymogelyd ywrth cupydddot. 7 Ar wneuthur yn vawr or ei vo yn precethu gair Dew. 9 Ymogelyd rrac dysceideth ddieithr. 13 Bot yn voddlon y ddyoddef cerydd y gyd a Christ. 15 Bot yn ddiolchgar y Ddew, 7 Ac yn uvydd in llywyawdwyr.

CARIAD broduraidd * triged. * parhaed
2 Na ollyngwch tros gof roddi lletty-*i ddiethred:*

‡ yd can ys trwy hynny ‡ir erbyniodd rrai yn ddiarwybod
Angylion yw tai.
3 Meddyliwch am y rrai sy mewn rrwymay, val pe
baech yn rrwym gidag wynt: ar rai y ddydis yn y
drygu, val pe ych *drygid* ych hunain yn y corph.
* Anrydeddus 4 * Vrddasawl *yvv* priodas ym hob dyn, ar gwely
‡ dihalog ‡dilwgr: eithyr y putteinwyr ar ei godinabus Dyw ay
barn*a*.
5 Bid digybydd ych ymwreddiad, ac ymfodlonwch
ac y sydd tan ych llaw, cans ef a ddyvod, ni phallaf yti,
ac nis gadawa di chwaith:
6 Hyd val y gallom ddoydyt yn hy, Yr Arglwydd
*ysy* yn gymhorth ym, ac nid ofna beth a wnel dyn ymy.
* arwain, 7 Meddyliwch am ych *preladiaid, rrain a drayth-
tywys, golygu ason i chwi air Dyw: calynwch y ffydd hwynt, trwy
‡ beth vu ystyr ‡pa vn yw diwedd y ymwreddiad hwynt.
8 Iesu Christ doy, a heddiw, yr vn hefyt *ysydd* yn
dragwyddol.
9 Nedwch ych dwyn o amgylch ac amryw, ac a
dieithyr ddysceidiaythay: can ys da ydiw cadarnhau yr
galon a gras, ac nid a bwydydd, rain ni thyciasont ir
rrai a fu yn ymarfer ac wynt.
* y ni 10 May ‡kenymi allor or hon ni does audurdod
yddyntwy y fwytta rrai sy yn gwasneuthur yn y
Tabernacl.
11 Can ys yr enifeilaid gwaed yr rrain a ddwg yr
‡ cyssegr archeffeiriad ir ‡santeiddle tros bechod, kyrff y y rrain
a loskir y tu ollan ir lluestai.
* ys 12 Ac am hynny *ac Iesu, ir yddo santeiddior bobl
trwy y waed y hun, or tu allan ir porth y dioddefodd ef.
13 Am hynny awn atto ef or tu allan ir lluestai, gan
ddwyn y ddirmig ef.
14 O blegid ni does i ni yma ddynas a bery, eithr hon
a ddaw y ddym yn i cheisio.
15 Offrynmwn o blegid hynny yn estig trwyddo ef y
Ddyw aberth moliant, hynny yw, ffrwyth gwefusay, yn
cyfadday y Enw ef.
‡ wneuthur 16 Nedwch tros gof ‡fod yn gywaithas a chyfrannu:
dayoni can ys a chyfryw aberthay y *boddheir Dyw.
* rrengir bodd 17 Vfyddhewch ych preladiaid, ac ymddarostyngwch:
* ar o blegid gwilio y maent *tros ych eneidiau chwi, megis
rrai a fydd rraid vddynt roi kyfri, mal i gallon wneuthyr
hynny yn llawen, ac nid yn drist: can ys dibroffid yw
hynny i chwi.
18 Gweddiwch trosom ni: can ys may yn sicer

kenym, fod y *ni* gydwybod dda ym-hob peth, yn chwen-
ychu byw yn onest.
19 Y ddwy yn disif arnoch wneuthur hynny beth
difrifach, ir mwyn cael yn ebrwyddach fyngollwng
attoch.
20 Dyw yr heddwch rrwn a ddug trachefn o ddiwrth
y meirw eyn harglwydd Iesu, y bigael mawr y defaid,
trwy waed yr Amod tragwyddol,
21 Ach gwnel yn berffaith ym hob gwaithred dda, y
wneuthyr y wollys ef, drwy weithio ynochi yr hyn a fo
cymradwy yn y olug ef trwy Iesu grist, ir hwn *y bo*
gogoniant yn oes oesoedd, Amen.
22 Y Ddwy yn wir yn disif arnoch, ymrodyr, goddef-
wch y gair cyngor, o blegid ac ychydig eiriau ydd
yscrifenais attoch.
23 Gwybyddwch fod *ein* brawd Tymotheus y ollwng
yn rrydd, gidar hwn (odaw e ar fyrder) y do y ymweled
a chwi.
24 Anherchwch ych preladiaid oll, ar sentiau y gyd.
May ‡gwyr Ital yn erchi ych annerch, * yr ei or
25 Gras *a fo* gida chwi oll *achlan*, Amen:

At yr Ebraiaid yr yscrifenwyd yr *ebystl hon* or Ital
trwy Tymotheus.

# EPISTOL GYFFREDINAWL

# IACO.

### Y DESTYN.

IACO yr Abostl, a mab y Alpheus a skrifennodd yr epistel honn at yr *D.R.D.M.*
Iuddewon a droysynt at Christ, ac ir hynny oeddynt ar wascar mewn
amryw wledydd, ac or achos hynn y cynghori y may y fod yn dda eu
ymynedd ac i weddio, y dderbyn gwir 'air Dyw, ac na bont pleidgar, na
gwneuthyr bost am ffydd segurllyd, eithr dangos gwir ffydd trwy
ffrwythe bywiol i ochelud ymdrychafel, i ffrwyno yr tavawd, i reoli
anwyday, i fot yn vfydd ac y garu y cymydogion, i ochelud tyngu, i
gyhuddo eu beie pan fyddynt ar gam, i weddio tros y gilidd, ac i ddwyn
y neb fay o iar y ffordd y adnebyddieth Christ.

## Pen j.

2 Rroi kyngor i fod yn llawen mewn blinder, 6 I fod yn ystic mewn
gweddi trwy ffydd gadarn, 17 I ddisewyl am bob dayoni oddifyny.
21 I ymwrthod ac oll gamweddey, ac ac yn ddiolchus derbyn gair

Dyw, 22 Nid yn vnig trwy eu wrandaw, neu son am danaw, eithr hevyd bucheddu yn gytun ac ef, 27 Beth yw gwir grevydd.

*Yr Epistol ar ddydd Philip ac Iaco*

IACO gwasanaethwr Dyw, ar Arglwydd Iesu Christ,
at y deuddec-llwyth gwascaredic, anerch.
2 Cymerwch yn lle dirfawr lewenydd fymrodyr, pan
ddigwyddoch mewn amryw *profedigaythay,
3 Can wybod y pair profedigaeth ych ffydd chwi
ymynedd.
4 Eithr ymynedd caffed y berffaith waith, mal y
galloch fod yn berffaith ac yn gyfan, heb ddim ‡diffig.
5 O bydd ar neb aysie doythineb, arched can Ddyw,
sy yn rroi yn hay*lionus* i bawb, ac nis *gorafun y neb,
ac ef ay rroir iddo.
6 Eithyr arched mewn ffydd, heb ammay dim: can
ys y neb a amheuo, cyffelib yw i tonn ‡or mor a chwelir
ac a deflir can y gwynt.
7 Ac na fyddylied y dyn hwnw i cayff ddim can yr
Arglwydd.
8 Gwr dauddyblyg feddwl, anwadal yw yngwbyl o*y*
ffyrdd.
9 Y brawd a vo o radd *gor*isel, llawenyched yn ei
oruchafiaeth:
10 Ac elchwyl y neb a vo cywaithog, yn eu ostyng-
edigaeth: can ys megis blodeuyn y llysiewyn, y
dif*l*anna.
11 O blegid *mal pan* gyvottor haul yn y gwres, yna
y gwywa'r llysiewyn, ac i cwympa i vlodeuyn, ac a gyll
tegwch eu bryd *ef:* ac velly y difladna'r cywaithog
ynghwbyl oy ffyrdd.
12 Happus ywr gwr, a *ym*oddef *profedigaeth: canys
pan vo prawedig, i cayff coron y bowyd, ron a addawodd
yr Arglwyddir rrai ay caro ef.
13 Na ddoydet neb pan ‡profer ef, y *brofi can
Ddyw: can ys ni ellir ‡profi Dyw a drwg, ac nid yw
ef yn *profi neb.
14 Eithr pob ryw vn a ‡brofir, pan y tynner, gan e
*dra*chwant yhun, ac y llithir.
15 Ac o ddyna gwedi i trachwant *gydynnyll, ‡bra-
guro pechod a wna: eithr pechod pan o'rphenner a
*ddirollwng varvolaeth.
16 Na ‡chifeiliornwch fymrodyr caredigawl.
17 Pob roddiat dayonus, a phob *rrodd berffaith,
o ddifyny*dd* y may, ac a ddiscin o iwrth tad y goleu-
aday, gidar hwn ni does trasymedigaeth, na chyscodiad
troedigaeth.

* dentatione
‡ eisieu,
* lliwia, dannot
‡ y
* tentation
‡ demter
* demto
‡ tento
* tento
‡ dentir
* ymdwyn
‡ escor ar
* escor ar
‡ ewch ar ddidro, cham ystyriwch
* dawn

*Yr Epistol y iiij. Sul gwedy Pasc.*

18 Oi wir wollys ir enillawdd ef ni trwy air y
gwirionedd, mal i gallem vod megis blaenffrwyth y
creauduriaid ef.
19 O achos hyn fymrodyr caredigion, bid pob dyn
*ebrwydd y wrandaw, diog i ddoyded, *a'* diog i ddig- ‡ escud
ofaint.
20 Can ys digofaint gwr, ni chyflowna gyfiownder
Dyw.
21 Am hynny rrowch heibio pob budreddi, a phob
‡ rryssedd malais, *a'* thrwy vfuddtra *d*erbyniwch yr ‡ tra
impiedic air, rrwn a ddichin ‡ iachau ych eneidiau. ‡ gadw
22 A byddwch wneuthyrwyr y gair, ac nid yn vnic *Yr Epistol y*
gwrandawyr, yn ych twyllaw ych hunain. *v. Sul gwedy y*
23 Can ys o gwrendy neb y gair, ac heb y wneuthyr, *Pasc*
tebig yw hwnw i * wr, a fai yn ‡ synnio eu * bryd * vn
genedigawl mewn ‡ drych. ‡ edrych
24 Can ys y synnio eu hun a wnaeth, a myned * wynep naturiol
ymaith, ac yn y man * ebrefugu pa sut ytoedd. ‡ gwydr
25 Eithr y neb a edrycho ar honn sy perffaith cyf- * anghofio
raith rrydit, ac a erys *ynthei*, can nad ydiw ef wrandawr
gwallgovus, eithr gweith*red*wr y weithred, ‡ happus ‡ dedwydd,
fydd yn eu waith*red*. gwynvydic
26 O chymer neb yn ych mysc chwi arno y vod yn
grefyddawl, ac nid attalio eu davod, eithyr twyllaw eu
galou eu hun, crevydd hwn*vv ys* ouer *yvv*.
27 Crevydd pur a' *difrych*eulyd* gar bron Dyw, ‡ ar * divagl
tad, yw hynn, ymweled ar ymddifaid, ar gwragedd- ‡ ys ef
gweddwonn yn eu hadfyd, ay ymgadw i hun yn ddi-
frych*eulyd* o ddiwrth y byd.

## Pen ij.

1 Yma i ddeirch na bo ystyriaeth person dyn, 5 Na rragori y cywaythog mwy nor tlawd, 8 Ac i ddeirch fod yn gredigol ac yn drugaroc, 14 Ac na vostier ffydd lle ni bo gweiththredoedd, 17 Can ys ffydd farw ydiw yr hon nis calyno gweithredoedd da hi.

VYMRODYR, na fid cenychi ffydd eyn Arglwydd
ni Iesu Christ gogoneddus ynghyd ac *ystiriaeth * *Darllen y*
personau. *deceved pen or*
2 O bleit os daw i mewn ich cwmpeniaeth chwi, gwr *Actæ*
yn ‡ arwain modrwy aur *ac* mewn * dillad gwchion, a ‡ *Gr. chrys-*
dyvot gwr tlawd hevyd mewn dillad gwael*ion*, *odactylios* aurvodrwy-
3 Ac ystyriaeth o honoch ar ‡ y neb sy yn arwain awc
dillad gwchion, a doedet wrtho, Eiste di yma mewn ‡ yr hwn
lle da, a doydet wrth y tlawd, Sa di yna, neu eistedd * gwisc ddys-
yma islaw fy stol droed, claer

* rragor, gohanieth amrafael

4 O ni dychi ynoch ych hunain yn gwneuthur * dosparth, ac aythoch yn vrowdwyr brodiau drwg?
5 Gwrandewch fymrodyr credigawl, oni ddewisodd Dyw tlodion y byd hwnn, *y vod* yn gowaethogion mewn ffydd, ac yn ytyfeddion ir dyrnas rron a addawodd ef ir rrai ay car ef?
6 Eithr i ddychi yn dyrmugu yr tlawd. Onid ydynt y cywaythogion yn * ych gorthrymmu-chwi wrth trowsdar] ac *anyd ynt* wy yn ych tynnu chwi gar bronn y frowdfainc?

* *Gr. catadynasteyousyn*

7 Onid ydynt wy yn *goganu yr Enw ‡ rragorawl trwyr hwn ir cyfhenwir chwi?

* divenwi
‡ prydverth

8 Eithr os cyflownwchi y frenhinawl gyfraith, ar ol yr yscrythyr, *rron a ddyvrait,* Car dy gymydawc ‡yn gymaint a thi dy hun, *ys* da i gwnewch.

‡ megis

9 Eithr os ystyriwchi * berson-*dyn*, y ddych yn gwnethyr pechod, ac ych ‡ yn cael cerydd can y gyfraith, mal * troseddion.

* vraint nep
‡ argyweddir
* rrei yn ei thori

10 Can ys pwy bynac a gatwor gyfraith ‡ y gyd ac a ballo mewn vn **pvrnc*, may ef yn euog or cwbl.

‡ gyfan, oll

11 O blegid y ‡ neb a ddyfod, Ni wnei di *g*odineb, a ddyfod hevyd, Ny leddi. Os bydd i ti na wnelych odineb, ac etto lladd, y ddwyt yn * trosseddwr y gyfraith.

* yr hwn
* dorwr

12 Velly i doydwch, ac velly y gwnewch, megis y rrei a fernir ‡ trwy gyfraith y rrydit.

‡ wrth

13 Can ys barn heb drugaredd, a fydd ir neb ni wnel trugaredd, a llawenychu a wna trugaredd yn erbyn barn.
14 Pa les, vymrodyr, o dowaid neb fod cantho ffydd ac eb vot gantho weithredoedd? a ddychon y ffydd *honno* eu iachau ef?
15 O blegit os bydd brawd neu chwaer yn noeth, ac aysie beunyddawl ymborth,
16 A' doydet o vn o honoch wrthynt, Ewch er nawdd Dyw, ymdwym*n*wch, ac ymlenwch, at etto heb roddi vddynt anghenrreidiaur corph, pa les *fydd?*
17 Velly ffydd, oni bydd *yddei g*weithredoedd, marw ydyw ynthi y hun.
18 Eithr rryw vn a ddowaid, Tydi ffydd sy cennyt minnau gweithredoedd sy gennyf: dangos *di* i mi dy ffydd wrth dy weithredoedd, a mi a ddangosa yt fy ffydd * wrth fyngweithredoedd.

* oth

19 Credu i ddwytti may vn Dyw y sydd: da rwyt arno: y ‡ diawlaid hefyd a*y* credant ac a grynant.

‡ cythrelieit

20 Eithr a fynnid i wybod, o dydi over ddyn, may
marw yw'r ffydd *sy* heb weithredoedd?
21 O nid trwy weithredoedd i cyfiownwyd, Abra-
ham yn tad ni, pan offrymmawdd ef Isaac eu fab ar yr
allawr?
22 * Ti a weli fod ffydd yn kydweithio ay weith- * Oni
redoedd ef ‡, a thrwy weithredoedd i perffeithiwyd y ‡?
ffydd,
23 Ac a gyflownwyd yr yscrythyr rron a ddowaid,
Ef a gredawdd Abraham i Ddyw, ac ay cyfrifed
iddo yn lle cyfiawnder: ac ay galwyd yn gar*edic i*
D*d*yw.
24 Chwi a welwch can hynny, may o weithredoedd
y cyfio wnir dyn, ac nid o ffydd yn vnic.
25 Yr vn ffunyt Raab y puttain onid o weithredoedd
i cyfiownwyd hi, pan *dd*erbyniodd *hi* y cenaday, ay
danfon ymaith ffordd arall?
26 Can ys megis y may'r corph heb *yr* yspryd
yn farw: velly ffydd *ys y* heb weithredoedd marw
ydyw.

## Pen iij.

2 Gwardd y mae racymgymryd, a chwenychu anrrydedd tuhwnt eyn brodyr, 3 Yskythru y mae keneddfe'r tavawd, 15. 16 A' pha wahan sy rrwng doythineb Dyw, a doythineb y byd.

NA cheisiwch fod yn veistred lawer, fymrodyr, gan
wybod y cawn i farnedigaeth glettach.
2 Can ys mewn llawer o bethay y ddym ni pawb yn
*llithro. O bydd y neb na lithro ar air, hwnw sy * cwympo,
wr perffaith, ac a ddichin ffrwynor holl corph. peohu
3 Nycha, y ddym yn dodi ffrwynay ymhennau r
‡meirch yw gwneuthyr yn vfydd i ni, ac y ddym yn ‡ Wele
troi ey cyrff hwynt oddiamgylch. ‡ safneu
4 Nycha hevyd y llongay, rrain cyd bont *mowrion, * cymmeint
a gwynt creulawn yw gyru, etto i troi hwynt o am-
gylch a wneir a llyw bychan bach, lle i mynnor
*llowydd. * llywiwr
5 Velly y tavawd hevyd aylod bychan yw, yn bostio
pethay mawr*ion*, nycha faint ‡o ddeunydd a ynnynna y ‡ y peth
chydic dan.
6 A'r tavawd tan ydyw, ie byd o enwiredd: velly i
gosodet y tavawd y mysc ein aylodiay, mal *y llygra ef * yr haloga,
yr holl corph, yn fflamhau ‡troell naturieth, ac yn divwyna
fflamedic can vffern. ‡ rrot, rrediat
7 Cans *holl natur ynifeiliaid, ac adar, ac ymlusc- * pop

iaid, a'r petheu yn y mor a ddofir ac a ddofwyd can
natur ddyniol.
8 Y tavawd hagen nis dichin neb rryw ddyn y ddofi.
Drwg anllyfodraythus *ydyvv*, yn llawn gwenwyn
marwol.
9 Trwyddo ef i bendi*gwn ni Ddyw ‡a'r tad, a'
thrwyddo ef i melltigwn ni ddynion, a wnaethbwyd ar
lun Dyw.

* thiwn
‡ sef

10 Or vn genau i daw allan bendith a melltith:
fymrodyr ni ddylaynt y pethay hyn fod felly.
11 A ddyry ffynnon or vn man *ddwr* melus, a'
chwerw?
12 A ddichin y pren ffeigys, fymrodyr, ddwyn
*olifaid, neu winwdden ffeigys? velly ny ddichon vn
ffynnon ‡roddi dwr hallt a' *chroyw.

* olewffrwyth, aeron olewwydd
‡ wneuthur
* melus

13 Pwy sy wr doeth a gwybodaeth cantho yn ych
mysc chwi? dangosed trwy ymwereddiad da eu weith-
redoedd mewn rrowiogrwydd doythineb.
14 Eithr o bydd cenychi cenfigen chwerw, ac ym-
ryson yn ych calonay, nac ymlawenhewch, ac na fydd-
wch celwyddog yn erbyn y gwirionedd.
15 Y doythineb hyn nid oddi fyny*dd* y discin, eithr
dayarawl *yvv*, enifeilaidd, a' ‡diawlaidd.
16 Can ys lle **bo* cenfigen ac ymryson, yno *y bydd*
tervysc, a phob gweithred ddrwc.

‡ dieflic, cythreulic
* *mae*

17 Eithr y doythineb y sydd o ddifyny*dd*, yn gynta
pur ydyw, ‡wedi hynny heddychol, boneddigaidd,
hawdd y thrino, llawn trugaredd a' ffrwythydd da *yn
ddiddosparth, ac yn *ddiffuant.
18 A ffrwyth cyfiawnder a heir mewn heddwch, *ir
rrai heddychawl.

‡ yno
* draws varnu
‡ hypocrisi
* y gan

## Pen. iiij.

1 Gwedi iddo ddangos achos pob anghyfiownder, ac enwiredd a hevyd achos pob gras a ddayoni, 4 Y cynghori y may y garu Dyw, 7 Ac y ymroi iddo ef, 11 Ac nas addroddant ddrwc am y cymedogion, 13 Eithr yn ddioddefus ymddiriaid y ymgeledd Dyw.

OBLE y may y rryfeloedd a'r ymladdau yn ych
plith chwi? onid oddiwrth hynn, sef ych tra-
chwantay, rrai ynt yn *ymwan yn ych aylodau?
2 Chwennychu yddych, ac heb caffael: cenftgennu
yddych, ac eiddigedd sy cenych, ac heb allu ymor-
ddiwes: ymladd a' rryvela y ddych, heb gael dim, am
nad ydych yn govyn.

* ymladd

3 Gofyn y ddych, ac ni dych yn *d*erbyn herwydd
ych bod yn gofyn ar gam, fal y gallech eu dreulio ar
ych trachwantay.
4 Chwi odinebwyr a' godinebwragedd, oni wyddochi
fod cariad y byd yn elyniaeth *can* D*d*yw? Am hynny
pwy bynac a fynno fod yn car ir byd, y may yn ym-
wneuthyr yn elyn *i* D*d*yw.
5 Ydychi yn tybiaid fod yr yscrythyr yn doydyt yn * ar, am
ofer, Yr ysbryd syn yn trigo ynomi ni, at genvigen y
may ei chwant?
6 Eithr y may *yr Scrythur* yn cynnyc mwy o ras, *ac*
am hynny yn doydyt, Dyw sy yn gwrthnebur bailch,
ac yn rroi gras ir ei vfydd.
7 Ymostyngwch *am hyny* y Ddyw: gwrthnebwch
ddiawl, ac ef a *gilia o ddiwrthych. * ffy
8 Nessewch at Ddyw, ac ef a nessaa attoch. Glan-
hewch ych dwylo, chwi pechaduriaid, a' phurwch ych
calonnay, chwi ‡ar meddwl dau ddyblig. ‡anwadal
9 *Ymgospwch, ‡ac alerwch, ac wylwch: *bid * Goddefwch-
*ycvch* troi ych chwerthin yn alar, a*ch* llywenydd yn gystudd, a' doluriwch
dristwch. ‡ ymchweler,
10 Ymddarostyngwch gar bronn yr Arglwydd, ac troer
ef ach cyfyd y fyny.
11 Na ddoydwch *yn erbyn y gilidd, *fym*rodyr. Y * *drwc am*
neb a ddyweto yn erbyn i frawd, ‡ac hwn a farno eu ‡ neu
frawd, y may yn doydyt yn erbyn y gyfraith, ac yn
*barnur gyfraith: ac os wytti yn barnur gyfraith, nid * damno
y dwytti yn gyflownwr cyfraith, namyn browdwr. * barnwr
12 Vn gosodwr cyfraith y sydd, rrwn a ddichin
gadw, a cholli. Pwy ydwytti rrwn a ferni *ar* arall?
13 ‡Iddo 'nawr yr rai a ddoydwch, Heddiw neu fory ‡ Velly yr
ni awn i gyfryw ddinas, ac a arrosswn yno flwyddyn, owrhon
ac a farchnattawn ac a ynnillwn,
14 (Rrain ni wyddoch beth a fydd y vory. Cans
beth ydiw ych enioes chwi? Tarth yn wir ydyw rrwn
a ymddengys *ychydig *amser*, a chwedi hyny a ddi- * enbyd *bach*
flanna)
15 Yn lle hynn a ddylech y ddoydet, Os yr Ar-
glwydd a *y* ‡mynn, ac oss byddwn byw, ni a wnawn ‡ wyllysia
hyn, neu hynny.
16 Eithr chwi yn awr ‡ymryfygu y ddych, yn ych ‡ ymhoffi
*gwacfost: pob cyfryw ryfig drwg yw. * sirost
17 Am hynny, y neb a wyr wneuthyr yn dda, ac
niss gwnel, mewn pechod y may.

## Pen. v.

2 Bygwth y may ef y cywaychogion euwir, 7 Cynghori emynedd, 12 Ac y'ochelyt tyngu. 16 Bot yddynt gyfadde eu beie yw gylydd. 20 A' cheisio dwyn y gilidd ir gwirionedd.

IDDO 'nawr, chwi gywaethogion: wylwch, ac vdwch am ych trueni a ddel arnoch.

2 Ych cowaeth *chvvi* llygry a wnayth: a'ch gwiscoedd bwyd pryfed ydynt.

3 Ych aur ach arian a rydodd, ay rrwd hwynt a fydd tyst yn ych erbyn, ac a yssa ych cnawd mal tan. *Casclu trysawr a wnaythoch ‡tros y dyddiau diwaytha.

4 Wele, cyfloc y gweithwyr, *rrain* a fedasont ych meysydd (rrwn a attaliasoch trwy dwyll) sy yn crio a *bloyddiay y rrai a fedassont, a entriassont y glustiau Arglwydd y ‡byddinoedd.

5 Byw ar ddayntethion y buoch ar y ddayar, ac mewn trythyllwch. Meithrin ych calonay a wnaythoch, megis ac yn y dydd lladdedigaeth.

6 *Euocau a wnaythoch *a'* lladd y cyfion, *rrvvn* niss gwrthnebodd chwi.

7 Am hynny, *vym*rodyr, byddwch ymarhoys, hyd devodiad yr Arglwydd. ‡Synna, y llafurwr a ddiscwyl am wyrthfawr ffrwyth y ddayar, yn dda eu ymynedd am dano, hyd caffel o hono y glaw *cynnar, ar diweddar.

8 O blegid hynny byddwchithay hevyd dda ych ymynedd, a chadarnhewch ych calonay, can ys y may defodiad yr Arglwydd yn nesau.

9 Na wnewch ddim ‡tuchan yn erbyn y gilidd, *fymrodyr*, *val *na* bo barn arnoch: wele, may'r browdwr yn sefyll wrth y drws.

10 Cymerwch, fymrodyr, yn siampl am oddeu blinder, ac am hir ymynedd, y proffwydi rrain a fuont yn ‡doyded yn Enw'r Arglwydd.

11 Wele, dedwyddd y ddym yn gadel y rrai a ymoddefant. Chwi a glowsoch am ymynedd Iob, ac a *welsoch y diwedd *a vvnaeth* yr Arglwydd. O blegit trathosturiol yw'r Arglwydd a' thrugaroc.

12 Eithr ymlaen pob peth, fymrodyr, na thyngwch, nac ir nef, nac ir ddayar, na llw arall amgen: eithr bid ych ief, yn ief, a*ch* nac *ef*, yn nac *ef*, rrac syrthio o honoch, *mewn barn.

* Tresori
‡ ir
* chri
‡ lluoedd
* Damno
‡ Wele
*bore, a' hwyr, cyntaf a dywethaf
‡ rwgnach, gwyth
* rrac eich damno
‡ ymddiddan, parablu
* wybuoch
**Gr. cis hypocrisin*

13 Oes neb yn ych plith mewn adfyd? gweddied.
Oes neb *yn esmwyth arno? caned. * wrth ei vodd
14 Oes neb yn ych plith yn glaf? Galwed am
*Henaduriaid yr eglwys, a gweddiant wy trosto, ac * *Presbyteros*
‡eliant ef ac olew yn Enwr Arglwydd. ‡ enneintiant, angenant
15 A gweddi 'r ffydd a iachaar claf, ar Arglwydd ay
cyfyd ef y fyny*dd*: ac o gwnaeth ef pechoday, hwynt
a vaddeuir iddo.
16 Cyfaddefwch ych beie *y naill ir llall, a gweddi- * *Gr. allelus* yw gylydd
wch tros y gilidd, y gael ych iachau: can ys llawer a
dal gweddir cyfion, pan vo ‡ffrwythlon. ‡ grymus, gadarn
17 Elias dyn ydoedd or *vn sut a ninay, ac yn eu * gyflwr
weddi ydd archodd na bai glaw, ac ni ‡bu glaw tair ‡ lawiodd hi
blynedd, a' chwe*ch* mis.
18 Ac ef a weddiawdd drachefn, ac a roddes y nef y
glaw, ac a ddug y ddayar eu ffrwyth.
19 *Vym*rodyr, o daeth neb o honoch ar *gyfeilorn * ddidro
oddiwrth y gwirionedd, a throi o ryw vn ef,
20 Gwybydded ef am y neb a droes y pechadur rrac
mynd ar gyfeilorn o ddiar y ffordd, y vod ef yn ‡cadw ‡iachau, achup
enaid rrac angay, ac yn kyscodi *lliaws*grvvydd o* pech- * llaweredd
odau.

---

# YR EPISTOL CYNTAF CYFFREDINAWL
I
# PETR APOSTOL.

### YR ARGVMENT.

Annoc y ffyddlonieit mae ef y ymwadu a hwy hunain, a' diystyru'r byd, val gwedy y rhydheit hwy ywrth oll wynnieu cnawdawl a' rhwystron, y gallont yn rhwyddach gaffael dyvot y deyrnas Christ, ir hon in galwyt gan rat Dew, y ddatguddiwyt y ni yn y Vap ef, ac ei derbyniesam eisus wrth ffydd, ei *meddiannasam trwy 'obaith, ac in cadarnhawyt ynthei trwy santeiddrwydd ‡bywyt. Ac er mwyn na lescao y ffydd hon wrth weled Christ wedy ei dremygu ac ar wrthddod gan yr holl vyd hayachen, dangos y may ef nad yw hyn anyd cyflawny yr Scrythurae yr ei a destiant y byddei ef yn vaen tranewydd ir ei ewliedic, a' diogel sail iechydwrieth ir ffyddlonieit: am hyny y mae ef yn y hannoc hwy y vynd rhacddyn yn *wychr, gan ystyried pa rei oeddent, ac y ba deilyngdawt y galwodd Dew hwy. Gwedy hyny, y mae ef yn traythu petheu gohanrhedawl, gan ddyscu dailieit p'odd yr vvyddhant yw llywiawdwyr, a' gwasanaeth-ddynion ei perchen, a' ph'wedd y ‡dirper ir ei gwedy eu priodi ymdddwyn. Ac achos darvot ordino i bawp ys ydd yn dduwiol, y ddyoddef cael eu hymlid, y mae ef yn dangos yddynt ddaed y dyben vydd yw gorthrymdere, ac yn

* *goryscynesam*
‡ *buchedd*
* *gyssurus*
‡ *dyly*

wrthwynep i hyny pa poenæ 'sy wedy ei ddarparu gan Ddyw ir ei andywiol. Yn ddywethaf oll y mae ef yn dyscu yddynt p'wedd y dylei y gwenidogion-ecclesio ymddwyn, gan eu gohardd y arfer trawsawturtot ar yr Eccles: hefyt bot yn iawn i wyr ieuainc vot yn gymmesurol, ac yn addas y ddyscu, ac velly y tervyna gan eu cygori.

## Pen. j.

2 Dangos ymae ef may trwy ampl drugaredd Dew in *detholwyt ac in adgenedlwyt i 'obaith vywiol, 7 A'r modd y treijr ffydd, 10 Nad yw yr iechydwrieth yn-Christ beth newydd, eithyr peth wedy ei bropwyto gynt. 13 Y mae ef yn y hannoc hwy y ymwreddiat dywiol, yn gymmeint ay ‡geni hwy yr owrhon o newydd can 'air Dew.

*D.R.D.M.* PETR apostol Iesu christ, at y dieithraid, sy ar
wascar rryd Pontus, Galatia, Cappadocia, Asia, a'
Bithynia,
2 Detholedic o racwybodaeth Dyw tad i santeidd-
rwydd yr ysbryd, trwy vfuddtawd, a thaynelliad gwaed
Iesu Christ: Gras ywch a heddwch a amylhaer.
3 Bendigedic fo Dyw, a thad eyn harglwydd Iesu
Christ, rrwn oi fawr drugaredd an adenillawdd ni, y
obaith bywiol trwy ail gyfodiad Iesu Christ o ddiwrth y
meirw,
‡anllygradwy 4 Y gael ytifeddiaeth *diddiwedd a ‡dilwgr, ac ni
*chwi diflanna 'rron a roed y gadw yn y nef y *nyni,
5 Rrain trwy allu Dyw ydym gadwedic herwydd
ffydd y gael y diogelwch a ddarparwyd yw arddangos
yn yr amser diwaythaf:
6 Yn yr hwn beth y ddych yn llawenhau, cyd
byddech ennyd bach (o ba raid) mewn tristwch,
herwydd amryw brofedigaythay,
7 Mal y ceffer profiad ych ffydd chwi, sy werthfowr-
*ar tan usach nor aur colledic, (cyd profer ef *trwy dan) ir
mawl, ac anrrydedd a' gogoniant *yvvch*, pan ymddangoso
Iesu Christ:
8 Rrwn heb y weled y ddych yn y garu, yn yr hwn
ir nas gwelwch ef yrwan, y ddych ir hynny yn credu,
‡anrraethawl ac yn llawenhau a llywenydd ‡ni ellir eu ymadrodd a'
gogonyddus,
*iechyd, cadwedigeth 9 Gan *dd*erbyn terfyn ych ffydd, *ys* *diogelwch ‡yr
‡*eich* eneidiau.
*iechyd 10 Am yr hwn *ddiogelwch ir ymofynasont, ac y
chwiliasont y prophwydi, rrain a prophwydasont am y
gras oedd taac attochi,
11 Gan ymgais pa bryd neu pa ryw amser y gwnai

ysbryd Christ oedd ynthyntwy yn testlauthu yn y blaen,
ysbusu, y dioddefau *y gaffai* Christ, ar gogoniant ay
cydcanlynay hwynt.
12 Ir rrain y dangoswyd, nad vddyntwy, eithyr y nyni
y gwasnaythay y pethau a fanegwyd y chwi trwy yr hai
a bregethasont ywch yr efengl trwyr ysbryd glan a
ddanfoned or nef*oedd*, *ac* ar yrrain y chwennych yr
angylion gael edrych.
13 O blegid hyn gwregyswch llwynay ych meddwl:
byddwch sobr: a' gobeithiwch yn berffaith ar y gras a
ddycpwyd attoch, drwy ‡ddrychioleth Iesu Christ, ‡ymddangosiat ddatguddiat
14 Megis plant vfuddion, rrain ni chydymgyfflyb-
wch ychvnain ar hen trachwantay yn yr anwybodaeth
einoch:
15 Eithyr megis ac y may y neb ach galwodd chwi,
yn santaidd, byddwchithay hevyd santaidd ymhob ym-
wreddiad,
16 Am hyny ir escrivennir, Byddwch santaidd, cans
myvy santaidd ydwy.
17 Ac as gelwchi ef yn Tad, rrwn heb ystyriaeth
person a farna ar ol gweithred pawb, ymddygwch tros
amser ych preswylfa *yma* mewn ofn,
18 A chwi yn gwybod nad a phethau llygredic *megis*
arian nei aur ich *ymwaredwyd o ddiwrth ofer ym- *prynwyt
wreddiad, a gowsoch o 'osodigaythay'r tadau,
19 Eithr a gwerthfawr waed Christ, megis yr oen
difrych*enlyd* dihalogedic.
20 Rrwn a ddarparhawyd yn y blaen, cyn gosod seil-
faynay y byd, eithr a ysbyswyd yn yr amseroedd di-
waythaf ir ych mwyn chwi,
21 Rrain ydych trwyddo ef yn credu ‡i Ddyw, ‡ynuw
rrwn ay cyvodes ef o ddiwrth y meirw, ac a roddes
iddo ef ogoniant, mal y bay ych ffydd chwi ach gobaith
ar Ddyw.
22 A chwi gwedi puro ych eneidiau, am vfuddhau
ir gwirionedd trwyr ysbryd, mewn cariad broduraidd
*diweniaeth, cerwch *bawb* y gilidd yn ‡'rymus, * diffuant
23 Chwi a aned o newydd, nid o *hil farwol eithr o ‡ ehelayth, bybyr, awyddus, ddwysfryd
*hil* anfarwol trwy air Dyw, rrwn sy fyw ac yn aros yn
dragwyddol. * had
24 Can ys pob cnawd mal y glaswellt*yn yw*, ‡a' ‡ ac oll 'ogoniant
phob ryfig dyn val blodeu yn y glaswellt*yn*. Gwywo a
wnar glasweltyn, a'r blodeuyn a gwympa i lawr.
25 Eithr gair yr Arglwydd a erys yn dracwyddol: a
hwn*w* ydyw y gair a bregethwyd ‡y chwi. ‡ yn eich plith

## Pen. ij.

*camwedd, bai

1 Eu hannoc y mae ef ar roi heibio pop *gwyd, 4 Gan ddangos may Christ yw'r sail y maent yn adailad arnaw. 9 Rygorvraint y Christianogion. 11 Y mae ef yn ervyn yddynt ymgynnal ywrth chwanteu cnawdol. 13 Bot uvyddhau ir llywiawdwyr. 18 P'odd y dlei gwasanaeth-ddynion ymddwyn ‡wrth eu perchen. 20 Annoc y mae ddyoddef yn ol esempl Christ.

* ffuant

‡ dryg davodleu

HERWYDD hyn, dodwch heibio pob malais a
phob twyll, a phob *rragrith, a' chenvigen, a
phob ‡goganair.
2 *Ac* mal rrai bychain newydd eni byddwch chwan-
noc y laeth didwyll y gair, mal i galloch drwy hwnw
gynyddu.
3 Os profasochi fod yr Arglwydd yn *gywaithas.
4 At yr hwn y ddych yn dyvod megis at faen byw
anghymradwy can ddynion, eithr can Ddyw etholedic
*a'* gwerthfawr.
5 A' chwithau hevyd megis main byw*iol*, a edylad-
wyd yn dy ysprydol, *ac yn* effeiriadaeth santaidd y
offrymmu aberthau ysprydol cymradwy can Ddyw trwy
Iesu Christ.
6 *Ac* am hyny y cynhwysir yn yr scrythr, *Nycha,
dodi y ddwy yn Syon *sail*fayn arbennic, etholedic
*a'* gwerthfawr: ar ‡neb a gretto yntho, nis gwrad-
wyddir *ef*.
7 O blegid hyn y chwi sawl ydych yn credu,
‡vrddas yw: eithr yr anufuddion, y maen a wrth-
odasont yr edeiladwyr, hwnw a wnaed yn ben congl.
8 Ac yn faen tramcwydd, a' chraic *afrifed, *ir rrai* sy
yn tramgwyddo wrth y gair a hwynt yn anufydd, ir hwn
beth ir ordinhawyd hwynttw.
9 Eithr chwichwi cenhedlaeth etholedic *ytych*, bren-
hinawl effeiriadaeth, *nasiwn santaidd, pobl syn yn
briodoriaeth *y Ddyw* mal i gallechi vanegi rrinwedd-
au ‡y neb ach galwodd o dywollwc yw ryfedd*odys*
'oleuni ef,
10 Rrain gynt nid pobl *oyddech*, yn awr hagen pobl
Ddyw: rrain gynt ni doed ywch trugaredd, yn awr
hagen a freiniasoch trugaredd.
11 *Vyn*grredigion, ytolwc ywch, megis dieithraid a
pherinion ymgedwch o ddiwrth trachwantayr cnawd,
rrain sy yn rryfela yn erbyn yr enaid,
12 A bid ych ymwreddiad yn honest ymysc y
cenhedloedd, mal y gallo rrai sy ich goganu mal pe

* *Gr. chrestos* mwyn, addfwyn, dayonus, hyfryd, tirion llesol

* Wele

‡ hwn

‡ anrydedd

* cwymp, rhwystr

‡ cenedl

* yr hwn

*Yr Epistol y iij. Sul gwedy yr Pasc.*

